# AT Y DARLLENWYR.

---

Gyda theimladau o ddiolchgarwch diffuant i Dad pob daioni, yr wyf yn cyflwyno y *bedwaredd* gyfrol o'm Pregethau yn y ffurf yma i sylw caredig fy nghydwladwyr.

Y Duw a arddelodd fy ngweinidogaeth y ddau du i'r Werydd yn ystod y flwyddyn a fendithio fy llafur trwy y Wasg, yn iachawdwriaeth llaweroedd, yw gweddi ddyfalaf

Yr eiddoch yn yr efengyl,

JOHN EVANS.

Frondeg, Bangor,
1887.

# CYNNWYSIAD.



# XXXVII.

## ER COF AM Y PARCH. JOHN HUGH EVANS.

"*Yn awr wele y Behemoth, yr hwn a wnaethum gyda thi; glaswellt a fwyty ef fel ŷch. Wele yn awr, ei gryfder ef sydd yn ei lwynau, a'i nerth yn mogel ei fol. Efe a gyfyd ei gynffon fel cedrwydden; gewynau ei arenau ef sydd blethedig. Pibellau pres ydyw ei esgyrn ef: ei esgyrn sydd fel ffyn heiyrn. Penaf o ffyrdd Duw ydyw efe; yr hwn a'i gwnaeth, a all beri i'w gleddyf nesâu ato ef. Y mynyddoedd yn ddiau a ddygant laswellt iddo; ac yno y chwery holl anifeiliaid y maes. Efe a orwedd dan goedydd cysgodfawr, mewn lloches o gyrs a siglenydd. Coed cysgodfawr a'i gorchuddiant â'u cysgod; helyg yr afon a'i hamgylchant. Wele, efe a ŷf yr afon, ac ni phrysura; efe a obeithiai y tynai efe yr Iorddonen i'w safn. A ddeil neb ef o flaen ei lygaid; a dylla neb ei drwyn ef â bachau?*—Job xl. 15—24.

"*Mewn purdeb, mewn gwybodaeth, mewn hirymaros, mewn tiriondeb, yn yr Ysbryd Glân, mewn cariad diragrith. Yn ngair y gwirionedd, yn nerth Duw, trwy arfau cyfiawnder ar dde ac ar aswy.*"—2 Corinthiaid vi. 6, 7.

Y GORCHWYL galarus a phwysig sydd genyf mewn llaw heno,* ydyw talu teyrnged o barch i gymeriad a choffadwriaeth ein cyfaill ymadawedig, y Parch. J. H. Evans. Do, bu y brawd anwyl talentog a duwiol hwn farw pan nad ydoedd ond tair blwydd dros hanner cant

* A draddodwyd yn Poland Street, W., Llundain, nos Sabboth, Gorph. 4, 1886.

oed, a chladdwyd ei weddillion y dydd o'r blaen yn mynwent Llanrwst, dan gawod o ddagrau cenedl. Ac y mae rheswm neillduol dros i'r gylchdaith hon, ac fe allai i'ch bugail presennol, achub y cyfleusdra cyntaf, i fwrw ein blodeuyn ar ei fedd.

Yn y flwyddyn 1860 safai dau—a dim ond y ddau—ymgeisydd am y weinidogaeth Wesleyaidd, o flaen Cyfarfod Talaethol Gogledd Cymru, i gael eu harholi. Yr oedd un o honynt yn saith ar hugain mlwydd oed, yn ddyn lled dàl, syth, a grymus o gorff; galluog,* diwylliedig, ac addfed ei feddwl, ac yn myned trwy ei arholiadau gyda rhwyddineb a rhwysg. Arwyddodd Dr. Stamp, y cynnrychiolydd Saesoneg, foddlonrwydd mawr gyda golwg arno, derbyniwyd ef gydag unfrydedd a hyfrydwch i'r gwaith rheolaidd; ac wedi iddo fyned yn llwyddiannus drwy arholiadau arferol Gorphenaf, a chael cymeradwyaeth y Gynnadledd yn mis Awst, penodwyd ef i ddechreu ar ei fywyd gweinidogaethol yn mis Medi canlynol ar gylchdaith Bangor. Ymhen tair blynedd aeth oddiyno i Birkenhead; ar ol bod yno dair blynedd, efe a dreuliodd dair blynedd arall yn y gylchdaith hon; symudodd oddiyma i Lanrhaiadr Mochnant, lle y llafuriodd yn ddedwydd iawn am y cyfnod arferol o dair blynedd; aeth oddiyno i Rhyl, ac yna i Gaernarfon, am dair blynedd ymhob un o'r ddau le. Treuliodd flwyddyn yn nhref Dolgellau, a thair blynedd yn Manchester, ac yn ddiweddaf symudodd i Lanrwst, lle y llafuriodd am oddeutu wyth mis mewn gwendid mawr. Yr oedd ei iechyd wedi dechreu ymollwng cyn iddo adael Caernarfon, ac er iddo ymadfywio ychydig fwy nag unwaith ar ol hyny, ni adferwyd iddo byth ei nerth a'i hoenusrwydd arferol. Pan ddychwelodd i Gymru ac yr ymsefydlodd ar gylchdaith Llanrwst, gobeithiai ef a'i gyfeillion y cwblhasid ei adferiad; eithr fel arall y bu. Yr

* Cafodd addysg well na'r cyffredin, ac yr ydoedd yn ysgolfeistr er ys peth amser cyn myned i'r weinidogaeth.

oedd ei ddolur yn anaele, ac yn tori dan sylfeini ei nerth; gwywai ar ei draed fel corsen wedi colli ei gwraidd, a chyda phenderfyniad dyn yn ymladd dau fywyd, efe a safodd ar ei draed nes y syrthiodd yn farw i'r llawr. Ychydig cyn ei farwolaeth, ni welwyd dyn yn cyfodi o'i wely a golwg mor wywedig a marwol arno; ac eto y pryd hwnw mynai bregethu a darlithio ymhell oddicartref, a chyflawnodd ei waith gyda grym oedd yn ymddangos i'r gwrandawyr yn anesboniadwy. O daith felly y daeth adref i farw. Ei afiechyd oedd *cancer* yn y cylla; dyoddefodd ddirdyniadau llymion yn ei ddyddiau diweddaf gydag ymostyngiad y Cristion diffuant, a bu farw yn wir ogoneddus am ugain mynyd i ddeg o'r gloch, ddydd Iau, Mehefin 24; a'r dydd Mercher canlynol, hebryngwyd ei gorff curiedig gan dorf alarus i dŷ ei hir gartref.

Dyma fraslinelliad o fywyd un o'r ddau ymgeisydd a safent ochr yn ochr o flaen y frawdoliaeth yn Llanfyllin, chwe' blynedd ar hugain yn ol; ac am y llall, saif hwnw yn awr ger eich bron chwi i geisio traddodi pregeth angladdol ei gyfaill ymadawedig. Y mae adgofion am y cydgyfarfyddiad hwnw, y cyfeillgarwch a ffurfiwyd ar y pryd, a'r edmygedd mawr a chynnyddol o hono a feddiannai fy meddwl byth oddiar hyny, yn gwneuthur y gorchwyl presennol yn dra anhawdd, tra yn gosod angenrhaid anocheladwy arnaf i beidio gollwng y cyfleusdra pruddaidd hwn heibio heb geisio talu teyrnged fechan o barch mawr i goffadwriaeth un ag yr erys ei enw yn barchus ac yn anwyl yn Nghymru am lawer oes.

Yr ymadawedig, fel y gwyddoch, ydoedd y gweinidog etholedig i lafurio ar y gylchdaith hon mis Awst nesaf. Y brawd a lafuriai yma ddiweddaf, oedd y Parchedig Evan Pugh, yr hwn yn fuan ar ol symud oddiyma a fu farw. ac un o'r dyledswyddau cyntaf a ddaeth i'm rhan ar ol ymsefydlu yn eich plith, oedd traddodi ei bregeth angladdol ef. Dan y fath amgylchiadau, nis gall dyn beidio teimlo fod y tymmor gweinidogaethol a drefnwyd i mi yn

Llundain wedi ei amgylchynu gan drychineb marwolaeth ol a blaen;—y gweinidog a'm blaenorodd wedi marw yn fuan ar ol gadael y gylchdaith, a'r gweinidog etholedig i'm dilyn wedi marw ychydig cyn adeg benodedig ei ddyfodiad iddi. Teimlwyf fod fy mywyd gyda chwi, fy nghyfeillion, fel amlen y galarwr, a'i ddau ymyl yn ddu; ac fod fy safle yn yr oedfaon hyn, mewn ystyr neillduol felly, yn sefyll rhwng y byw â'r meirw. Teimlad ddifrifol yn wir ydyw hwn o fod yn rhydd ymysg y meirw. Rhodded Duw ein heinioes ddoethineb i mi a chwithau fanteisio ar yr amgylchiad.

Darllenais ddau destyn i seilio fy sylwadau arnynt; y cyntaf a ddarllenwyd i osod allan mewn dammeg nodweddau naturiol a phersonol yr ymadawedig, a'r olaf i ddynodi ei nodweddau moesol a chyhoeddus.

## I.

### PRIF NODWEDDAU NATURIOL A PHERSONOL EIN BRAWD YMADAWEDIG.

Yn ei ddarlith rymus ar y Parch. Rowland Hughes, ceir gan Cynfaen y sylwadau canlynol:—"Un o brif alluoedd gwareidd-dra y pulpud Cymreig ydoedd efe. Ymddangosodd i ddwyn i mewn wareiddiaeth, ond ymadawodd cyn i weddillion goreu ein hanwareiddiaeth ardderchog ddiflanu. Yr oedd amrai rywogaethau wedi ac yn diflanu cyn ei ymddangosiad, eto yr oedd rhai engraffau ardderchog yn aros yn ac wedi ei amser ef. Y cawrfil mawr oedd Jones Talsarn, yn engraff o'i rywogaeth, ac yn cadw ei neillduolrwydd cawraidd yn nghanol newydd-bethau gwareiddiaeth. Cariai y llwyth trymaf o'r nwyddau goreu dros wyllt leoedd anhygyrch. Ysgydwai lawer ar fynyddoedd Sir Gaernarfon, o Penmaenmawr i'r Eifl; a siglodd Dyffryn Clwyd, a llawer dyffryn arall, dan ei draed fynych dro. Ond ni wybu erioed mo'i gryfder, ac yr oedd yn dda i angeu

hyny, pan yr oedd ganddo i'w arwain trwy le mor gyfyng i'r byd arall. Yr ych gwyllt oedd Cynddelw. Yr oedd yn fwy gwaraidd, ac yn fwy gwyllt ar lawer cyfrif, na'r anifeiliaid eraill. Yr oedd ganddo lygad braf, tirion, o dan ael farfog, ac uwch cernau gwalltog; ac âg un ergyd ei ysgwydd torai goeden îr yn groew i ffwrdd, a byddai ei ruthr trwy y gelltydd fel ymdaith tân trwy y llwyni meryw. Ond bu raid iddo yntau gilio o flaen gwareiddiaeth yr oes. Llew grymus oedd Thomas Aubrey. Wyneb, llygad, llais, mwng, meingefn, crafanc, naid, ac osgo y llew oedd ganddo ef. Gallai gydfyw â phobl wareiddiedig yn eithaf, ac edrych trwy ei haiarn ar eu heiddilwch gyda goddefgarwch mawreddog ac hunanfeddiant i'w edmygu. Ond nid oedd digon o fêr yn olewydd-lànau gwareiddiaeth i newid graen un blewyn o'i freninol fwng:—

'Hyf yn ei daith heb ofn dig,
Yn gadarn deyrn y goedwig.'

A dyma yr achos paham yr oedd pobl yr oes yn methu penderfynu rhwng Rowland Hughes a Thomas Aubrey, heb gofio mai tywysog gwareiddiaeth oedd un, a brenin anwareiddiaeth y pulpud oedd y llall. Ond fel yr oedd y goedwig yn cael ei harloesi, yr oedd yn rhaid i'w brenin gilio ymaith. Nid oes eto yn aros ond Hiraethog,* yr eryr mawr hwnw, yr hwn, oddiar glogwynau tyrau ein gwlad, sydd yn ei ymgrwcydiad pwyllus yn cadw meddiant o'r mynedol ardderchog; a phan y mae chwisl y *mail train* yn adsain i'r clogwyni o'i amgylch, gan gyhoeddi buddugoliaeth gwareiddiaeth a newydd-deb, mae yntau yn troi ei ben ac yn dyweyd, 'Mi a redaf ras â hi eto.' A phan y mae yr awyren sidanaidd yn esgyn at ei breswylfa, i gario *civilization* i'r cymylau, mae yntau yn rhyw hanner edrych arni, gan ddyweyd, 'Beth sydd gan ryw gàr llusg fel hyn

* Erbyn hyn y mae yntau hefyd wedi ei symud.

eisieu yma ?—*civilization* braf yn wir,—aros i lawr, y ff——l.' A chan fod gan y sidan ofn bach ei big, mae ef yn cael llonydd eto. Eithr y mae efe ei hun yn methu peidio aflonyddu arnom ni weithiau. Pan mae yn adnewyddu ei ieuenctyd, mae yn frontio ein halpau, yn cynhyrfu ein hawyrgylch, yn cychwyn yr ystormydd rhwng y bryniau, yn hollti yr awyr, ac yn bwledu yr haul. Ond am ein harwr, nid oedd efe yn perthyn i'r rhywogaethau hyn. Nid y'm yn dyweyd ei fod yn well am hyny."

Darllenais y dyfyniad maith hwn. Yn un peth, fel engraifft o ddawn ac arddull ei awdwr, ac hefyd i ddangos nad oedd ef yn petruso gosod allan nodweddau rhai o oreugwyr y pulpud Cymraeg dan gymhariaethau o'r greadigaeth afresymol. Y cawrfil oedd un, yr ŷch gwyllt oedd un arall, y llew grymus y trydydd, a'r eryr mawr oedd y pedwerydd. Amcan cyffredinol y sylwadau bywiog a ddyfynwyd, yr wyf yn addef, ydoedd dangos mai plant natur yn hytrach na chynnyrch caboliad gwareiddiaeth ac addysg oedd y gwŷr mawr y sonia am danynt; tra y dadleua fod ei arwr, Rowland Hughes, yn un o brif alluoedd gwareidd-dra y weinidogaeth yn Nghymru. Fel y ceir dangos eto, yr oedd Cynfaen ei hun yn dwyn llawer o nodau gwareidd-dra yn yr ystyr ag y mae efe ei hunan yn defnyddio y gair—eto y sylfaen gadarn ar yr hon yr oedd yr holl bethau hyny wedi eu goruwchadeiladu, oedd y talp praff, durol, ac ymylog o natur oedd yn gwneuthur i fyny gymeriad ei feddwl. Yr oedd ef yn gyfuniad o natur a chelfyddyd; yn bont âg un pen iddi yn gorphwys ar dir gwyllt ac anwar y pulpud Cymraeg, a'r pen arall ar yr hyn a alwai efe yn wareidd-dra y weinidogaeth. Cyfarfyddai y ddau Destament ynddo—Behemoth Job a gweinidog Paul.

Dynodir rhai o'i brif deithi meddyliol yn nodweddau y creadur gogoneddus a ddesgrifir gan Job yn y testun cyntaf a ddarllenwyd. Megys yn :

1. *Praffder.*

Yn awr, wele y behemoth. "Wele," gelwir sylw ato. "Y behemoth." Ystyr y gair hwn yn syml yw—yr anifail, hyny yw, anifail neillduol, yr anifail penaf, —brenin yr anifeiliaid oll. Barnai yr hen esbonwyr mai desgrifiad dychymygol a roddir yma o'r anifail perffaith, wedi ei wisgo â chyfuniad o brif nodweddau y cawrfil ac eraill o anifeiliaid ardderchocaf y cynfyd. Ar ymyl dalen y Bibl sydd o'm blaen, dodwyd y gair "*elephant;*" ac ar ymyl dail y Cyfieithiad Diwygiedig, ceir yr afon-farch *(hippopotamus)* yn lle y cawrfil, a'r farn fwyaf cyffredin yn awr yw mai hwnw yw y creadur sydd gan ysbrydoliaeth ddwyfol mewn golwg yma. Galwai yr Aiphtiaid hynafol ef yn "ŷch y dyfroedd." Ffynai ei dras yn afonydd y dwyrain, a dywedir y cyfetyb i'r desgrifiad hwn yn well na'r un creadur arall. Y mae yr afon-farch yn bwyta gwellt fel ŷch, ac ar lysiau yn benaf, os nad yn hollol, y dibyna am gynnaliaeth. Mae ei safn yn fawr iawn, o'r un ffurf a phen rhaw, a'i gylla yn anferth o gynnwysfawr; mae yn alluog i gymeryd cegaid enfawr ar unwaith, ac i dori y glaswellt mor llyfn a phe buasai ganddo bladur. Yn yr afonydd dyfroedd y cartrefai, ond cynnyrch y sychdir oedd ei ymborth. Dringai ochrau y mynyddoedd cyfagos i'r afonydd, yn ol desgrifiad yr 20fed adnod o arferiad y behemoth, ac yna prysurai yn ol i ymochel dan gysgod helyg a brysglwyni canghenog y dyfroedd. Y mae yn greadur mawr iawn hefyd. Dywedir ei fod yn chwe' llath o hyd, ac fod pob peth o'i gwmpas yn gyfartal fawr. Gelwir ef yn llyfr y Talmud yn "Darw y mynyddoedd," a desgrifir ef mewn gormodiaeth nodweddiadol yn pori bob dydd laswellt mil o fryniau. O ran maintioli, golygid yr anifail hwn, yn y dwyrain, y penaf o ffyrdd Duw.

Nid oedd Cynfaen yn fwy na'r cyffredin o ran corffolaeth. Safai oddeutu pum' troedfedd ac wyth modfedd o daldra, heb fod yn llydan na phraff, ond o ran nodwedd ei feddwl, yr oedd uchder a dyfnder, hyd a lled rhyfeddol

yn perthyn iddo. Cydymdeimlai â llïaws mawr o wahanol wybodaethau. Yn chwanegol at ei hoffder o dduwinyddiaeth, athroniaeth, a barddoniaeth, talai sylw i seryddiaeth a daeareg, arluniaeth a cherfiadaeth, gwleidiadaeth a beirniadaeth. Gwelwyd yn ei ddarlith ar y Mynydd Tanllyd gyfarwydded ydoedd mewn daeareg. Tystia y darlun a dynodd o'r hybarch Samuel Davies y cyntaf ac eraill y gallasai ragori mewn arluniaeth. Dengys ei erthygl yn yr *Eurgrawn* ar un o orchestion arluniol Doré, ei fod yn gyfarwydd iawn gydag egwyddorion y gelfyddyd, ac yn gymhwys i ffurfio ac i ddadgan barn ar gampwaith felly. Gwledd oedd treulio diwrnod gydag ef yn y *National Gallery.* Gwyddai gymaint o hanes personol y "Great Masters," a byddai ei sylwadau ar eu nodweddau gwahaniaethol yn ddifyr dros ben. Safai am oriau i edrych ar ambell ddarlun, a'r anhawsdra ydoedd ei gael o le felly hyd yn nod pan fyddai galwad bwysig am dano. Yr oedd ei hoffder at arluniaeth yn angerddol. Meddai wybodaeth led helaeth am y celfau a'r gwyddorau eraill hefyd, canys rhedai ei anianawd feddyliol yn gryf yn y ffordd hono. Dichon mai cerddoriaeth oedd bron yr unig eithriad. Nid oedd ganddo feddylddrych am gynnyrchu peroriaeth â'i lais, wrth siarad na chanu; yn wir, nid wyf yn meddwl y gallai ganu dim; eto i gyd nid oedd neb yn cael mwy o fwynhâd nag ef wrth wrando canu da, yn enwedig *oratorios* neu rhyw ddarnau desgrifiadol o'r fath. Gŵyr pawb ei fod yn fardd ac yn feirniad. Yn ei erthygl ar Chwaeth a Beirniadaeth, yn y *Geninen*, yn ogystal ag yn y golofn beirniadaeth a fu dan ei ofal yn y *Genedl*, gwelir fod ganddo syniadau uwchraddol am egwyddorion y wyddor bwysig hon, ag y barnai y buasai yn fanteisiol i lenorion ei genedl dalu mwy o sylw iddynt. Yn nghanol y pethau hyn oll, ymaflai ei feddwl amlochrog yn mhynciau y dydd gyda'r dyddordeb dyfnaf; talai ystyriaeth i helynt y byd mawr llydan, ac nid oedd dygwyddiad o bwys yn unlle yn dianc ei sylw. Gwyliai ysgogiadau gwleidiadol y deyrnas

yn ofalus, a phan dybiai fod anghen am hyny, traethai ei olygiadau ar y sefyllfa heb ofni na derbyn wyneb neb. Fel hyn, gwelir fod cylch ei feddwl yn eang, a dichon y dylid ychwanegu, ei fod yn fwy eang nag o fanwl,—modd bynag, yr oedd lled ynddo.

Nodweddid ef hefyd â dyfnder. Treiddiai i lawr at egwyddorion pethau gyda chraffder yr athronydd. Gwelir hyn yn ei holl ysgrifeniadau; ac yr oedd yr un peth yn hynodi ei weinidogaeth gyhoeddus. Ac yr oedd uchder yn nodwedd amlycach ynddo na dyfnder. Tarawai gyweirnod uchel i'w holl gyflawniadau. Y gŵyn mewn lleoedd gwledig ydoedd fod ei bregethau uwchlaw cyrhaeddiadau y bobl: arferai iaith anghyffredin; cymhariaethau gwyddonol; pynciau dyeithr. Dichon mai hyn yw un o'i nodweddau amlycaf fel bardd. Ehedai yn uchel iawn, ac arosai yn yr entrych yn hir. Barnai rhai y buasai yn fwy llwyddiannus mewn cystadleuaeth pe buasai aden ei ddychymyg yn fyrach, a gyrfa ei ehediadau meddylddrychol yn nês i'r ddaear. Behemoth o fardd ydoedd. A dyllai neb ei drwyn ef â bachau? Yr ydoedd yn greadur mor fawr i'w osod yn y clorian; ac yn hytrach na pheryglu y taclau beirniadu, rhwyddach, fe allai, oedd ei droi o'r neilldu gyda dim ond gair o gollfarniad.

2. *Grymusder.*

Nid bob amser y mae maintioli yn cynnrychioli grymusder a nerth. Dybyna cymaint ar gynllun a gwneuthuiad creadur, fel y mae ambell filyn bychan yn fwy grymus na chreadur arall llawer helaethach ei faintioli. Mae yr esgyrn yn wydnach, y cyhyrau yn fanach eu gweadwaith, y gïau â mwy o yni ynddynt, a'r holl osodiad yn fwy cydnerth a manteisiol er peri cadernid a grymusder. Ond yn yr afon-farch, dywedir fod maintioli a nerth yn cydgyfarfod. "Pibellau pres ydyw ei esgyrn ef; ei esgyrn sydd fel ffyn heiyrn;" mor galed â phibellau copr, a chan gryfed â ffyn heiyrn. Ei gryfder sydd yn ei lwynau; nid oes anifail mewn bod âg asenau mor gryfion;

mae croen ei forddwydydd yn nodedig o dew, ac mor annhreiddiadwy â llurig Goliath.

Nodwedd amlwg yn nheithi meddwl ein brawd ymadawedig oedd grymusder. Nid oedd yr un llinell eiddil yn ei ymddangosiad, na'r un nodwedd egwan yn ei gymeriad. Yr oedd tôn ei lais, ei iaith, ei arddull a'i feddyliau yn feiddgar a grymus. Llenwid ei feddwl âg yni, yn cymeryd y ffurf, nid yn gymaint o ddygnwch âg o rymusder a nerth. Oedai yn hir weithiau cyn dechreu ar waith neillduol; ond pan elai ati, taflai y fath nerth a myn'd iddi nes y tybygid fod y creigiau yn cael eu rhwygo o'i flaen, a sylfeini y mynyddoedd yn rhoddi ffordd. Gorfodid pawb a ddeuai yn agos ato i deimlo ei fod yn gryf, gan nad beth fyddai yn ddiffygiol ynddo. Mewn dadl, neu ar y llwyfan, yn gystal ag yn y pulpud, ar lafar neu trwy y wasg, deuai pibellau pres a ffyn heiyrn esgyrn behemoth i'r golwg. Coleddai rai golygiadau hynod ar byncïau cyffredin, ac nis gellid bod yn sicr pa fodd y cymerai at gynllun neu bwnc newydd a osodid ger bron hyd nes y cyfodai ar ei draed; eithr dan bob amgylchiad nid oedd pall ar ei nerth. Cyfleai a safai dros ei olygiadau gydag awdurdod, a chyflawnai ei ran yn y ddadl a fyddai ar droed gydag eofndra a grymusder nodedig. Yr oedd llawer o ddigrifwch *(humour)* yn ei natur, ac ymollyngai ar adegau i dymher dra chwareus, ond gwnelai hyny fel creadur grymus. Meddai "*terrible power of sarcasm;*" a phan demtid ef i wneuthur defnydd o hono, torai esgyrn megys â chleddyf behemoth (adn. 19).

3. *Rhwysg* (adn. 17, 23).

Nid oedd yr afonfarch yn greadur harddach, os yn gymaint felly, â rhai anifeiliaid eraill a ddesgrifir yn llyfr Job. Am yr asyn gwyllt y dywedir, "Efe a chwardd am ben lliaws tref; ni wrendy ar lais y geilwad. Cilfachau y mynyddoedd yw ei borfa ef, ac efe a chwilia am bob glaswelltyn." Sonir am fawr gryfder a gwylltineb yr unicorn. Dywedir am y march rhyfel, "Dychryn yw ardderchog-

rwydd ei ffroen ef. Ei draed a gloddiant yn y dyffryn, ac efe a lawenycha yn ei gryfder: efe a ä allan i gyfarfod arfau. Efe a ddiystyra arswyd, ac ni ddychryna efe; ac ni ddychwel yn ei ol rhag y cleddyf. Y cawell saethau a drystia yn ei erbyn, y ddysglaer waewffon a'r darian. Efe a lwnc y ddaear gan greulondeb a chynddaredd: ac ni chred mai llais yr udgorn yw; efe a ddywed ymhlith yr udgyrn, Ha, ha! ac a arogla o bell ryfel, twrf tywysogion a'r bloeddio." Cyfeirir yma at yr eryr sydd yn ymgodi yn uchel, yn trigo ar ysgythredd y graig, a'r lle cadarn, ac oddiyno yn chwilio am fwyd; "ei lygaid a ganfyddant o bell." A thrachefn, yn y bennod ar ol y testun, ceir un o'r darnau mwyaf arddunol a ysgrifenwyd erioed i ddesgrifio mawr allu Duw yn y lefiathan, yr hwn a wna i'r dyfnder "ferwi fel crochan; efe a esyd y môr fel crochan o enaint. Efe a wna lwybr goleu ar ei ol, fel y tybygid fod y dyfnder yn frigwyn. Nid oes ar y ddaear gyffelyb iddo, yr hwn a wnaethpwyd heb ofn. Efe a edrych ar bob peth uchel; brenin ydyw ar holl feibion balchder."

Er na feddai y behemoth hoewder ysgafndroed yr asyn gwyllt, uchder mawreddus yr unicorn, gosodiad bwäog a phrydferth y march rhyfel, neu gynddeiriogrwydd ofnadwy y lefiathan, eto pan gynhyrfid ef arddangosai gymaint o rwysg âg un o honynt. Yr oedd ganddo ffordd o hwylio ei gynffon, lledu ei safn, a symud ei gorff mawr oedd yn taflu arswyd ar bob creadur a'i gwelai.

Pan ymddangosodd ein brawd anwyl gyntaf o flaen y cyhoedd, arddangosai yntau gryn lawer o rwysg cyfreithlawn a gweddus iddo ef. Deuai i'r golwg yn ngosodiad ei berson, tôn ei lais, ac oslef ei acen. Tybiai dyeithriaid ei fod yn ŵr balch. Pan aeth gyntaf i Birkenhead ar ol yr hynaws a'r talentog R. T. Owen, dywedodd un hen gymeriad hynod am dano, "Yn Llundain y dylai y pregethwr yma fod, y mae yn ormod o ŵr boneddig i ni yma." Yn ystyr briodol y gair yr oedd Cynfaen yn ŵr boneddig. Ni bu yn Nghymru erioed neb oedd yn fwy felly; ac yr oedd yn

ormod o foneddwr Cristionogol mewn goleuni pen a duwioldeb calon i fod yn falch. Ond os heb ronyn o falchder calon yn agos ato, meddai gryn lawer o rwysg yn ei ysbryd a'i ymddangosiad, yn enwedig pan gyffroid ef. Mewn Cyfarfod Talaethol eisteddai yn dawel am oriau i wrando ar eraill yn deddfu ac yn dadleu; ond yn y man, mor sydyn â rhuthriad y behemoth o helyg y Nilus, cymerai y llawr, ymuniawnai fel cedrwydden îr, a chan edrych yn awdurdodol, os nad yn gyffrous, mesurai eiriau hirion, cryfion allan, mewn llais uchel a mawreddog, gan daro heb arbed yr hyn a ddygwyddai fod ar ei lwybr, a gweithio ei ffordd at nôd a fyddai mewn golwg ganddo mor rwysgfawr â rhyfelfarch y dyffryn. Pan y pregethai ar agoriad capel Bethesda yn Arfon, neu y darlithiai yn Shaw Street, Lerpwl, ar ei hoff arwr, Thomas Aubrey, neu ar un o adegau eraill hapus ei fywyd cyhoeddus, byddai yr olwg arno mor areithyddol rwysgfawr â neb a safodd erioed ger bron cynnulleidfa.

4. *Gwroldeb.*

Dichon y dylwn gymedroli ychydig ar y gair hwn yma trwy ei ansoddi â'r gair *goddefol.* Dealla pawb o honoch feddwl yr ymadrodd, gwroldeb goddefol *(passive bravery).* Mae y llew yn greadur ymosodol a'i wroldeb yn bendant a hunan-gymhellol. Bwystfil rheibus ydyw, yn byw ar gnawd ei gydgreaduriaid ac yn sychedu am waed, eithr nid felly y behemoth. Ar laswellt yr ymborthai efe ac nid ar waed, ac yr oedd ei wroldeb yn amlygu ei hun yn fwy mewn hunanddiffyniad nag wrth ymosod. Adwaenai ei nerth, a gellir dywedyd am dano fel am y lefiathan, "yr hwn a wnaethpwyd heb ofn." Pan elai at yr afon i dori ei syched, yfai o honi ac ni phrysurai. Lle peryglus i greadur cyffredin yfed o honi oedd afon yr Aipht. Cyfodai dyfroedd yr afon weithiau yn sydyn ac yn uchel, ac yr oedd y crocodilod oedd ynddi bob amser yn enbyd, ond yfai y behemoth, ac ni phrysurai rhag ofn y naill na'r llall. Gwyddai na allai gorlifiad y dyfroedd ei foddi, na'r

holl grocodilod ei ladd. Eto gyda'r holl nerth hwn, nid oedd yn ymosodol a rheibus ei naturiaeth. Dynodir hyn yn eisteddle ei nerth,—"ei gryfder sydd yn ei lwynau." Nerth y llew yn ei grafangau, a nerth sarph yn ei cholyn, ebe yr hen air. Mewn gallu ymosodol y mae eu nerth hwy, ond yn ei lwynau yr erys cryfder y behemoth, sef mewn gallu amddiffynol. Os caiff lonydd, triga mewn heddwch; ond os ymosodir arno, ni ddeil neb ef o flaen ei lygaid, ac ni thylla neb ei drwyn ef â bachau. Amddiffyna ei hunan gyda gallu a phybyrwch dirfawr. Dywedir yn y testyn hefyd, fod ganddo gleddyf at ei wasanaeth, ac fod yn beryglus nesâu ato ef (adn. 19). Nid yw y meddwl yn eglur iawn. Tybia rhai mai at ei ddannedd y cyfeirir, ac y mae y rhai hyny yn debyg i gleddyf o ran eu ffurf, ac yn llawn mor ddifaol. Darllena eraill y geiriau fel hyn, "Efe a roddes bladur iddo." Mae pladur a chleddyf bron yr un ffurf, ond fod min y bladur ar ei hochr fewnol, ac ar y ddwy ochr i'r cleddyf. Modd bynag, y meddwl yn amlwg yw, fod gan y behemoth arf at ei wasanaeth, sydd yn gwneuthur fod yn beryglus ei gythruddo.

Yr oedd y rhywogaeth yma o wroldeb yn nodwedd amlwg yn nghymeriad naturiol Cynfaen. Yr oedd yn gryf ac yn ymwybodol o'i nerth, eithr nid ymhoffai ymosod, na tharo neb yn gyntaf. Nid ar gnawd yr ymborthai, ac ni sychedai ar waed. Nid oedd gronyn o waed y bwystfil rheibus yn ei wythienau, ac nid mewn colyn sarph, na chrafanc llew yr oedd ei nerth, eithr fel y behemoth yn ei lwynau; nerth amddiffynol, math o wroldeb goddefol, oedd ganddo. Pan gyfodai rhwystrau ar ei ffordd, ni phrysurai i gystadlu â hwy. Pan ymosodai dynion arno, dyoddefai yn hir heb daro yn ol, na chymeryd arno fod neb yn curo arno o gwbl. Nid oedd heb deimlo oddiwrthynt; yn wir, nid oedd neb a deimlai yn nghynt neu yn ddyfnach oddiwrth unrhyw esgeulusiad neu ymosodiad oedd yn cynnwys sarhâd. Ond ni amlygai hyny o gwbl i'r cyhoedd, a phrin yr ynganai air i gyfaddef y peth i'w

gyfeillion anwylaf. Dichon y buasai yn fwy manteisiol i'w iechyd i beido cadw ei ofid yn gymaint iddo ei hun. Ofnir gan rai na thueddai yr ymosodiadau a wnaed arno mewn newyddiadur a gyhoeddid yn y dref ag y trigai ynddi ar y pryd, i estyn dim ar ei fywyd. Yn y cyfnod hwnw y dechreuodd yr afiechyd a derfynodd yn ei farwolaeth. Gwyddai fod ganddo ddigonedd o allu at ei alwad i amddiffyn ei hunan yn ngwyneb yr ymosodiad, ac y mae yn rhyfedd genyf os na fuasai ei gleddyf yn gosod terfyn buan ar y Philistiad a'i rhegai ar y pryd. Ond gydag eithriad o lythyr neu ddau, dyoddef y cwbl yn dawel a wnaeth, gan ddangos ei nerth mewn dyoddef yn hytrach nag mewn ymladd. A dyna ei ffordd yn gyffredin, pan fyddai ei achos ef ei hunan yn y cwestiwn. Hyn fyddai ei ddull fynychaf wrth drafod â dynion yn ei gylchdeithiau. Gosodai law drom ar ambell un, eithr nid cyn goddef yn hir ac yn dawel. Ac nid ofn oedd yn cyfrif am hyn, canys gwnaethpwyd ef heb ofn. Pan elwid arno gan ddyledswydd i sefyll ei dir, safai fel y graig. Yr oedd y fath gryfder yn ei lwynau, fel nad oedd yn bosibl ei lethu mewn ymornes law law; ac yr oedd ei wroldeb mor ddigryn fel nad ellid ei ddychrynu i gilio trwch blewyn o ffordd neb. Os teimlai duedd i fyned at yr afon i yfed, yfai o honi ac ni phrysurai. Gwyddai na fedrai holl donau ymchwyddol y dyfroedd ei foddi, na'r holl grocodilod rheibus a ruthrent am dano, dori ffyn heiyrn ei esgyrn, na phlygu gewynau plethedig ei nerth. Meddai wroldeb diammheuol, yn cyfodi oddiar annibyniaeth ysbryd ac ymwybodolrwydd o allu mewn cyfuniad â ffyddlondeb diymollwng i argyhoeddiadau ei gydwybod; ond eto ar wedd amddiffynol ac nid ymosodol yr amlygai ei hun.

Gallesid ychwanegu fod hynodrwydd yn perthyn i gymeriad ei feddwl. Nid un o'r dynion llyfnion yma wedi ei gaboli fel ceryg afon ydoedd Cynfaen. Safai wrtho ei hunan yn mhlith mil, ac yr oedd gwahanfodedd mor groew yn ei nodweddu nes creu hynodrwydd yn nghymeriad ei

feddwl oedd lawn mor amlwg ag yn ei ymddangosiad personol. Rhyw behemoth ydoedd, hynod yn ei ffordd, yn perthyn i dir a dwfr, yn gorwedd dan helyg yr afon, ac yn dringo y mynyddoedd, yn nofio y dyfroedd fel pysgodyn, ac yn bwyta glaswellt fel ŷch. Ond amser a ballai i ymhelaethu ar hyn.

## II.

NODWEDDAU MOESOL A CHYHOEDDUS EIN BRAWD YMADAWEDIG.

Teithi cynhenid ei gymeriad naturiol oedd y praffder a'r grymusder, yr annibyniaeth a'r gwroldeb diofn, yr hynodrwydd a'r rhwysg a nodasom; y sylfeini a gyflëwyd gan natur, ar y rhai y goruwchadeiladwyd ei gymeriad crefyddol a chyhoeddus. Dyma y defnyddiau amrwd ag yr oedd gan addysg i'w dadblygu a'u coethi; gan ras i'w hamgeleddu a'u hiawngyfeirio; a chan dros chwarter canrif o fywyd cyhoeddus amlwg a llafurus i'w dwyn i'r golwg a'u defnyddio. Pe heb fod yn gristion, a phe heb fod mewn canlyniad yn bregethwr, buasai J. H. Evans yn ddyn praff a grymus ac annibynol; yn gymeriad gwreiddiol a phwysig; yn feddyliwr mawr a chynnyrchiol; ac yn fardd, yn llenor ac yn wladwr ag y buasai Gwynedd, os nad Cymru oll, yn gwybod rhywbeth am dano.

Disgynai o gŷff teuluol uwchraddol o ran gwreiddioldeb athrylith a nerth cymeriad. Yr oedd ei fam yn ddynes fawr a grymus mewn corff a meddwl; a'i dad, Ioan Tachwedd, yn un o'r cymeriadau mwyaf talentog a gwreiddiol a fagodd Sir Fflint. Meddai ei dad feddwl dyfeisgar a chynnyrchiol, ac yr oedd yn bregethwr galluog ac yn fardd da. Mwnwr ydoedd fel tad Martin Luther, wrth ei alwedigaeth; ond mwnwr oedd yn meddu twll plwm o'i eiddo ei hun, ac yn fwy clyd ei amgylchiadau na'r cyffredin o'i sefyllfa. Trigai efe a'i wraig, a'u dau fab—canys dyna yr

holl deulu—mewn tŷ ar lethr Mynydd Helygain, yn Sir Fflint, a adeiladwyd ganddo â'i law ei hunan, ac yr oedd cynllun a gwneuthuriad yr annedd hynod hono yn adlewyrchiad o ddelw meddwl a chymeriad hynod y penteulu. Ac yr oedd eu dull o fyw mor hynod â'r tŷ, ond yn hynod o ddedwydd. Ystyriaeth ailraddol oedd codi y plwm, a gweithid ef yn ol galwad trysorfa y teulu. Os byddai y cwpbwrdd yn llawn, gadewid y gwaith plwm i sefyll, a threuliai y tad ei amser gyda diwydrwydd mawr i ddarllen a chyfansoddi a diwyllio ei feddwl; a danfonai ei feibion i'r ysgol ddyddiol. Ar hwyr y dydd, os na fyddai rhywbeth yn y capel, gwelid golygfa ddyddorol iawn yn Bryn'rhedydd. Ar ei eisteddle arferol un ochr i'r tân, byddai y tad yn brysur ddarllen neu ysgrifenu; gyferbyn âg ef, yn ei chader ar yr ochr arall i'r aelwyd, eisteddai y fam yn gweu â'i dwylaw tra yr oedd ei llygad a'i meddwl yn gwylio llafur ac ymddyddanion achlysurol ei theulu llengarol. Wrth ford gron ar y llawr, eisteddai y mab hynaf yn llawn llafur uwch ben llyfr newydd, neu yn ysgrifenu; ac yna mewn congl, rhwng ei dad a'r simdde, eisteddai John Hugh mor brysur a neb yn tynu lluniau, yn barddoni, neu mewn rhyw ffordd neu gilydd yn diwyllio ei feddwl. Ar ol yspaid maith, weithiau, o osteg, torai rhyw un ar y dystawrwydd, ac elai yn siarad rhyngddynt, ond ni fyddai yr ymddyddan ond parhâd o'r efrydiau teuluol. Llawer noson, ac ar adegau, llawer diwrnod cyfan, a dreuliwyd felly yn Bryn'rhedydd, cartref ein brawd ymadawedig. Pan ddarfyddai yr arian, eid ati i godi plwm drachefn, a buan y cyflenwid y drysorfa. Yr oedd y teulu fel *community* bach yn byw ynghyd ac wrthynt eu hunain; a'r wythïen blwm fel cwch mêl i'r gwenyn, i fyned ato pryd y mynent. Diwyllio eu meddyliau oedd un amcan mawr bywyd iddynt hwy.

Yr oedd gan y tad feddwl uchel o'i fab John, a chan fod Rhagluniaeth yn gwenu arno ar y pryd, penderfynwyd rhoddi ysgol dda iddo. Danfonwyd ef i'r ysgol yn wyth

oed. Ychydig o gynnydd a wnaeth ar y cyntaf, ac yr oedd cyflwr aneffeithiol yr ysgol yr oedd ynddi ar y pryd yn ddigon o gyfrif am hyny. Cyn bo hir darfu i'w dad ac ychydig o wŷr blaenllaw eraill sefydlu Ysgol Frytanaidd yn y plwyf; cafwyd athraw rhagorol o Lundain, a chreodd ysgol Licswm, fel ei gelwid, gyfnod newydd yn hanes addysg yn y fro. Un o'r rhai cyntaf a dderbyniwyd i'r ysgol newydd oedd John H. Evans; dysgodd yn rhagorol, a bu yno hyd nes tyfodd bron i'w lawn faint. Wedi gorphen ei ysgol, aeth i sefydliad cyhoeddus yn Rhuthyn fel ysgolfeistr; a chyn hir safodd yr arholiad anghenrheidiol, ac ennillodd *certificate* fel athraw.

Ychydig cyn iddo adael cartref, dygwyddodd amgylchiad a arweiniodd i ffurfiad cyfnod newydd yn hanes ei fywyd. Ymunodd â chrefydd, ac aeth drwy symudiad trwyadl o farwolaeth i fywyd. Yr oedd ei rieni a'i unig frawd yn aelodau eglwysig, ei dad yn bregethwr cynnorthwyol, ac yntau ei hunan yn coleddu y syniadau uwchaf am grefydd o'i febyd, a'i fuchedd allanol mor ddilychwin a'r un proffeswr yn y wlad. Ond rywfodd trwy fod ei dad yn dysgwyl iddo ef ofyn am gael ymaelodi yn yr eglwys fel y gwnaethai ei frawd, ac yntau o'r tu arall yn dysgwyl i'w dad ei gymhell, yr oedd ef oddeutu ugain oed cyn dechreu proffesu crefydd. Yn y flwyddyn 1852 cynnelid Cyfarfod Talaethol y Gogledd yn ninas Caer; ymhlith eraill oedd yn siarad yn y seiat fawr, adroddai Mr. Parry, Ddinbych, hanes ei dröedigaeth at yr Arglwydd. Ar ei ffordd adref o'r *District* galwodd brawd crefyddol yn Bryn'rhedydd i adrodd yr hanes. Aeth profiad Mr. Parry at galon y mab ieuengaf, a phenderfynodd fod yn rhaid iddo yntau gael rhywbeth cyffelyb cyn y gallasai fod yn ei le; ac ni orphwysodd nes ei gael. Un nos Sul ar ei ffordd adref o gapel Rhesycae, —noson dywyll iawn yn mis Hydref, 1852,—ymneillduodd dan gysgod craig yn ymyl Pwllpathew, a derbyniwyd ef i gyfammod gyda Duw, ar yr hwn y pwysai wrth farw. Ar ol hyn, ymddadblygodd yn gyflym iawn fel crefyddwr.

Cyn bo hir ar ol symud i Ruthyn, dechreuodd bregethu trwy gymhelliad y Parch. R. Pritchard, ac yn 1860, fel y nodais o'r blaen, derbyniwyd ef i waith y weinidogaeth, yn yr hon y llafuriodd yn ffyddlon, ac yn yr hon y bu yn addurn mawr, hyd derfyn ei oes.

Credwyf y ceir prif linellau ei gymeriad fel crefyddwr a gweinidog yn y geiriau a gymerwyd o ail lythyr Paul at y Corinthiaid.

1. *Ei gymeriad moesol*, adn. 6.

*Un linell amlwg* yn ei gymeriad moesol oedd *cywirdeb.* Gellid dyweyd am dano ef, heb betruso dim, "Mewn purdeb." Nid oedd rhith allanol, ffug na geudeb o fath yn y byd, mewn egwyddor, gair na gweithred, yn agos ato. Hynodid ef gan ffyddlondeb i'w gydwybod, mewn materion a ystyrid yn bwysig yn ei olwg, cyn ei dröedigaeth drwy ras. Yn yr ysgol y bu ynddi gyntaf, gwesgid ar y plant i ddysgu ac i adrodd catecism yr Eglwys Sefydledig. Yr oedd ef wedi ei fedyddio gan weinidog Ymneillduol, heb gymhorth na phresennoldeb tadau a mamau bedydd, a phan ddysgwylid iddo ddyweyd yn ol geiriau y Catecism mai hwynt-hwy a roddasant iddo ei enw, ei ateb uchel ac unffurf ef ydoedd "Fy nhad." Ceisiwyd curo goleuni newydd i'w feddwl â gwïalen, ond ofer hollol oedd y cospau llymaf a fedrai yr ysgolfeistr na neb arall roddi arno. Dyoddefai y cwbl mor benderfynol â merthyr bach. "Mewn purdeb" oedd ei arwyddair ef y pryd hyny. Yr oedd myned i waith y weinidogaeth yn golled arianol, lled bwysig iddo ef; eithr pan ddeallodd mai hyny oedd ei ddyledswydd, cauodd ei lygad ar arian ac aur, ac ymaflodd yn ngwaith mawr ei fywyd, heb ymgynghori â chig a gwaed. Yr oedd y praffder a'r nerth, yr annibyniaeth a'r gwroldeb a berthynent iddo yn naturiol, yn ei ragdueddu o'r groth i fod yn onest a phur mewn egwyddor. Nod bychandra, effaith ofn a gwaseidd-dra yn gyffredin, ydyw y dyblygedd a'r geudeb sydd mor ddinystriol i gymeriad moesol dyn. Yr oedd ef yn rhy fawr i fod yn iselwael; yn rhy anni-

bynol i fod yn wasaidd; yn rhy wrol i fod yn llechwraidd a dauddyblyg ei feddwl dan unrhyw amgylchiad. Ac wedi i ras Duw gyfnewid ei galon, deuai y purdeb hwn i'r golwg yn ei ffurfiau pwysicaf. Rhoddai pawb yr ymddiried llawnaf yn ei gymeriad, ac ni ddychymygodd neb erioed a'i hadwaenai, am ammheu cywirdeb ei amcan a phurdeb ei egwyddorion. Daliai rai syniadau hynod, ac nid oedd ei farn ar bob achos yn cario hyder pawb. Yn ngharedigrwydd ei galon dichon y gallasai gymeryd ochr chwith person neu achos, ond yr oedd gloewder a phurdeb ei onestrwydd uwchlaw pob ammheuaeth.

*Llinell arall* yn ei gymeriad moesol oedd *boneddigeiddrwydd.* "Mewn hirymaros, mewn tiriondeb." Yn y cwpl geiriau hyn ceir priodoleddau hanfodol gwir foneddigeiddrwydd, a desgrifiad cywir iawn o Cynfaen. O ran ysbryd ac ymddygiad yr oedd ef yn ŵr boneddig perffaith. Clywais y diweddar Richard Pritchard yn dyweyd hyny am dano fwy nag unwaith, a gwn mai dyma farn pawb arall am dano, oedd yn ei adnabod yn weddol. Yr ydoedd yn ddirwestwr zelog; coleddai argyhoeddiadau cryfion gyda golwg ar rwymedigaeth crefyddwyr, yn enwedig gweinidogion yr efengyl, i lwyr ymattal, ac ni bu yn fyr o fynegi hyny, yn awr ac eilwaith; eithr bob amser yn hollol foneddigaidd.

*Defosiynedd* oedd nodwedd arall a berthynai iddo. "Yn yr Ysbryd Glân." Pan gyfarfyddais âg ef gyntaf yn Llanfyllin, dyma yr argraff a dderbyniais am dano, ac nid anghofiaf byth yr hanner awr a dreuliais gydag ef mewn ystafell ddirgel, cyn cael ein galw ger bron yr arholwyr yn y Cyfarfod Talaethol. Mor daer y gweddïai! Gymaint o addoli oedd yn ei ddefosiwn! Amlygai arwyddion amlwg y pryd hyny ei fod yn cymdeithasu llawer gyda Duw. Un felly a fu ar hyd ei oes. Nid mater o gydwybod ac ufudd-dod i argyhoeddiad fod hyny yn ddyledswydd, oedd crefydd iddo ef yn unig; nage, yn ddiau, ond mwynhâi ei llawenydd sanctaidd fel dyn wedi cael ysglyfaeth lawer;

ymborthai ar ei gwleddoedd yn nhŷ Dduw, yn y rhestr, dan y bregeth, neu wrth lefaru; ymdrechai gyda'r Angel pan wedi ei adael wrtho ei hunan, a rhodiai fel Enoch gyda Duw. "Yn yr Ysbryd Glân."

At hyny, gellir ychwanegu, fod *callineb* yn un arall o nodweddau moesol yr ymadawedig. "Mewn gwybodaeth." Dywed rhai mai ystyr yr ymadrodd hwn yw, gwybodaeth ddeallol o'r efengyl; ac eraill a ddysgant mai callineb ymarferol a olygir. Yn y nãill ystyr a'r llall, mae yn gymhwysiadwy ato ef. Yr oedd ganddo synwyr cryf iawn, dirnadaeth gyrhaeddbell i ystyr Gair Duw, ac o egwyddorion yr efengyl. Yr oedd ei grefydd bersonol yn grefydd oleuedig, a'i holl ymarweddiad yn cael ei lywodraethu gan wybodaeth ddeallol, eang a gafaelgar. Nodweddid ef hefyd â rhywogaeth neillduol o gallineb ymarferol. Ymestynai ei gynlluniau yn gyffredin ar raddfa eang iawn, ac ni ddylid mesur ei gallineb wrth unrhyw gynllun gyda golwg ar ei ysgrifeniadau neu ei amgylchiadau personol a adawodd ar ei ol, gan na chafodd fyw i'w gweithio allan. Amlwg yw, oddiwrth ei eiriau ef ei hunan, fod marw mor gynnar yn ymyraeth â'i gynlluniau yn ddirfawr, a'i fod yn yr ystyr yma yn ddyn siomedig. Peth arall a ddylid gymeryd i ystyriaeth ydyw gwreiddioldeb a hynodrwydd ei olygiadau ar bob peth bron y gellid meddwl am dano, ac nad oedd dynion cyffredin yn edrych ar yr hyn a fyddai ganddo ef mewn llaw oddiar yr un safle feddyliol ag y gwnelai ef ei hun. Ymadrodd perthynasol yw callineb, ag y dylid mesur ei ystyr wrth safon neillduol galluoedd, dygiad i fyny, a safle ddeallol yr hwn y priodolir ef iddo. Os gwneir hyny, canfyddir nad oedd Cynfaen yn fyr o briodoleddau rhywogaeth uchel o gallineb ymarferol.

At y cwbl, yr oedd *sancteiddrwydd Cristionogol* yn coroni ac yn perffeithio yr oll. "Mewn cariad diragrith." Tystiolaeth pawb a'i hadwaenai ydoedd ei fod yn ddyn duwiol iawn. Cadwai ei lygad yn sefydlog ar ogoniant Duw fel dyben eithaf ei holl fywyd, a beth arall ydyw ystyr yr

ymadrodd cryf, "cariad diragrith." Heb y cariad hwn ofer a diddym yw pob dawn foesol arall; gyda hwn fel sail, ysgogydd, a theyrn iddynt, rhoddir rhinwedd, rhwymyn, a pherffeithrwydd i gymeriad moesol dyn.

2. *Ei nodweddau cyhoeddus.* Adn. 7.

Yr adnod hon yn nodedig o nodweddiadol o hono. Nodir ei *swydd oruchel* "yn ngair y gwirionedd." Mynegiad o feddwl ydyw gair; mynegi y meddwl Dwyfol ydyw pregethu; nodwedd fawr y meddwl hwnw yn yr efengyl ydyw y gwirionedd. Bod "yn ngair y gwirionedd," gan hyny, yw bod yn y gwaith goruchel o fynegi neu bregethu yr efengyl. Dyma swydd a gwaith mawr bywyd fy anwyl frawd. Cyflawnai waith arall yn achlysurol; ysgrifenai i'r wasg, cyfansoddai farddoniaeth, tynai arluniau, a thraddodai ddarlithiau, ond traethu y gwirionedd yn y cymeriad o bregethwr oedd y swydd oruchel a'r gwaith mawr ag y rhoddodd ei fywyd iddo.

*Arddull ei weinidogaeth*—"trwy arfau cyfiawnder ar ddehau ac ar aswy." *Milwr* arfog oedd ef ar faes y weinidogaeth. Dan ei arfau diffynol ac ymosodol yr ymddangosai yn wastad wrth bregethu. Cludai ei darian a hwyliai ei gleddyf —"arfau . . . . ar *ddehau* ac ar *aswy.*" Arfau *cyfiawnder* oeddynt hefyd. Yr athrawiaeth o gyfiawnhad trwy ffydd, neillduolion dadguddiad, oedd arfau Paul ar yr aswy i amddiffyn, ac ar ddehau i ymosod. *Gwirionedd* Cristionogaeth a'r profion dros hyny—"yr *evidences*," ys dywedai yntau—oedd baich gweinidogaeth ei fywyd. Ffordd yma y rhedai ei ddarllen a'i fyfyrio, ei ymddyddanion cyfeillgar, a'i draethiadau cyhoeddus. Yn ei ddarlith Dalaethol ar *Delerau derbyniad Crefydd*, ceir engraff o swm y cwbl a glybuwyd ganddo. Ië, cofier dim ond engraifft. Yr oedd ei feddwl yn ddiderfyn o gynnyrchiol, ei weinidogaeth bob amser yn iraidd ac yn gyfoethog, a'i ffordd o gyfleu pwnc mawr ei fywyd i'w wrandawyr yn cynnwys amrywiaeth dirfawr. Ychydig mewn cymhariaeth a roddai o'i sylw i dduwinyddiaeth gyfundrefnol, a bron nad oedd yn well

ganddo efrydu Ruskin na Doctor Pope. Cristionogaeth fel "gair y gwirionedd"—fel dadguddiad dilwgr a diffuant a goruwchnaturiol o feddwl Duw gyda golwg ar gyflwr dyn fel pechadur—ïe, dyn—bôd meddylgar a moesol ac anfarwol—oedd cenadwri arbenig ei fywyd cyhoeddus.

*Ysbryd a grym* ei gyflawniadau cyhoeddus—"Yn nerth Duw." Llefarai yn fynych dan fesur o arddeliad Ddwyfol, a phob amser mewn ysbryd sanctaidd o ddibyniad ar Ddwyfol gynnorthwyon. Yr oedd yn ŵr mawr mewn gweddi, ac yn teimlo yn gymaint a neb erioed mai yn Nuw yr oedd yn byw, symud, a bod. I ddyn ymwybodol, o'r fath nerth meddyliol ag oedd efe, mor drwyadl ddiofn dyn, yn meddu crebwyll mor gynnyrchiol, a'r fath bwyll a grym i ddyweyd ei feddwl, dengys ras mawr ynddo i feithrin teimlad mor ddibynol ar gynnorthwyon Dwyfol yn ei gyflawniadau cyhoeddus.

Wrth derfynu, yr wyf yn teimlo fod yr ymgais hon yn dra ammherffaith i osod y dyn mawr, y Cristion sanctaidd, a'r gweinidog ffyddlawn ac enwog hwn ger eich bron. Ofnwyf nad wyf wedi gosod digon o arbenigrwydd ar ei brif gynneddf feddyliol, sef ei *grebwyll*.

"Yr oedd ganddo ef Ddychymyg gref a goeth."

* * * * *

"Dychymyg gref, ramantus, feiddgar, fyw,"

a briodolai i'w arwr, Thomas Aubrey. Yr oedd ganddo ddychymyg, yn enwedig yn y ffurf o grebwyll, yr hyn a eilw Ruskin yn "*Imagination penetrative.*" Yr ydoedd yn anarferol o gref, yn anwaraidd o ramantus, ac yn ofnadwy o feiddgar. Dyma, yn ddiau, oedd ei brif allu, ac yn y gallu hwn nid wyf yn gwybod am neb a gynnyrchodd Cymru a ragorai arno. Darllener ei farddoniaeth, neu meddylier am ei ddarlithoedd. Y fath greadigaethau enfawr, cyfain, a dysglaer! Ond ymattaliaf. Gwrandewch beth a ddywed y wasg anenwadol am dano:—

"Fel *Pregethwr*, yr oedd Cynfaen," ebe un newyddiadur, "yn wreiddiol, cryf, a meistrolgar dros ben. Safai yn y dosbarth blaenaf ac ystyrid ef gan y dosbarth uwchaf o wrandawyr yn un o'r meddylwyr mwyaf galluog. Nid oedd yn debyg i neb a glywsom erioed, ac ofnwn yr ä amser maith heibio cyn y clywn neb tebyg iddo ar ei ol.

Fel *Darlithydd*, yr oedd ar ei ben ei hun mewn praffder a nerth. Yr oedd yn ddifyrus—O! 'r anwyl, oedd. Ond nid mewn ystraeon digrif a geiriau swnfawr yr oedd ei werth ef fel darlithydd. Nid estyn rhyw damaid rhwng bys a bawd y byddai; ond yr oedd yr hyn a estynai i'w wrandawyr -fel grawnsypiau Escol—yn plygu y trostanau! Yr oedd ei esgynebau yn ei ddarlithoedd yn ogoneddus; ac ymchwydd ei athrylith yn hyf a nerthol fel corwynt—yn cario pob peth o'i flaen, ac yn ysgwyd trosolion y mynyddoedd i'r craidd.

Fel *Bardd*, yr oedd yn wyllt a hedegog, fel rheol; ac eto yr oedd y duedd athronyddol oedd yn ei feddwl yn peri iddo lwytho yn drwm pan yn gyru gyflymaf, neu yn ehedeg uwchaf.

Fel *Llenor*, safai yn uchel iawn yn ei gylch. Ysgrifenodd lawer o'r darnau cyfoethocaf i brif fisolyn ei enwad am lawer o flynyddoedd. Cymer ei ysgrifau yn y *Geninen*—ein chwarterolyn cenedlaethol—eu lle ymysg ein pethau goreu. Dywedodd un o brif lenorion y genedl wrthym y dydd o'r blaen, fod yr ysgrif ar 'Chwaeth a Beirniadaeth' yr ysgrif odidocaf, yn ol ei rhyw, a ymddangosodd yn y Gymraeg yn ystod yr hanner canrif diweddaf."

Ond bu yntau farw; ond bu farw fel y bu fyw, yn wir ogoneddus. Mae hanes ei ddyddiau olaf yn un o'r pethau mwyaf cyffrous a argraffwyd erioed. Dyoddefodd boenau arteithiol gyda thawelwch mawr. Bu "mewn gwybodaeth" bron i'r diwedd. Galwai ei unig blentyn, ei anwyl Llewelyn, at erchwyn marwol ei wely i dderbyn oddiar ei wefusau ei gynghor olaf. Dyddanai ei briod galarus gyda thynerwch oedd mewn cyfuniad â hyder awdurdodol yn ngofal Duw am dani. Soniai am ei ddiweddar fam yn nghyfraith dduwiol, yr hon oedd wedi myned i'r nefoedd ychydig o'i flaen, gan ddyweyd y treiai "ei ffeindio hi allan" ar ol cyrhaedd y wlad. Derbyniai gymwynasau olaf ei unig frawd, y *fixed stars*, a'r cwbl—gyda'i bwyll a'i serchogrwydd arferol. Nododd y fan i'w gladdu, a gofynodd am gael arch o dderw goreu i gadw ei weddillion. Ac yna ar ol trefnu ei dŷ, diolch i'w feddyg,

gorchymyn am ei esgyrn, a ffarwelio gyda'i gyfeillion ar y daear, suddodd yn gyflym, a chan sefydlu ei holl sylw ar y "Cyfryngwr" ar "Gopa y Bryn," efe a gymerodd y dwfr gydag eofndra goleuedig a hollol ddiofn. Reportiai hanes ei daith wrth fyned rhagddo. Un adeg dywedodd "Rhaid bod gydag Iesu Grist yn yr ystorm i wybod beth all ef wneyd." Ymhellach ymlaen casglodd ei nerth ynghyd a gwaeddodd, "Mae hi yn goleuo yn *splendid.*" Pan gollai'r golwg yn ngwawl goleuni y dydd anfachludol oedd yn tori arno, sibrydai, "Y Cyfryngwr! Y Cyfryngwr! Iesu yn bob peth!" ac felly y terfynodd ei yrfa ogoneddus ar y ddaear.

Bum' niwrnod cyn marw cyfansoddodd y llinellau canlynol—ei farddoniaeth ddiweddaf!—

"Mi gefais fodolaeth, ac iechyd a nerth,
Am flwyddi prin gwyddwn beth ydoedd eu gwerth;
Mi ge's iachawdwriaeth yn nghrefydd y groes:
Rhoes hono gyfeiriad tragwyddol i f' oes;
Mi gefais efengyl, a'r Ysbryd i'w dyweyd,
A phob cynnorthwyon a gefais i'w gwneyd;
Mae 'r rhoddion yn aros, ond iechyd yn awr—
Mae hwnw ar goll, a'r golled sydd fawr;
Boddlonrwydd yw 'r *broblem* yn awr ger fy mron,
Boddlonrwydd wna nefoedd mewn adwy fel hon!
Boddloni i'r drefn â 'nghefn ar fy ngwaith,
Boddloni i eistedd cyn diwedd y daith:
Ha! diwedd y daith! gall mai 'r diwedd yw hyn!
Gadewch im' gipolwg ar gopa y bryn."

# XXXVIII.

## UNDOD YN ANNOGAETH I UNDEB.

"*Deisyf gan hyny arnoch yr wyf fi, y carcharor yn yr Arglwydd ar rodio o honoch yn addas i'r alwedigaeth y'ch galwyd iddi. Gyda phob gostyngeiddrwydd ac addfwynder, ynghyd a hir ymaros, gan oddef eich gilydd mewn cariad; gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd. Un corff sydd, ac un Ysbryd, megys ag y'ch galwyd yn un gobaith eich galwedigaeth; un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, un Duw a Thad oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll.*—EPHESIAID IV. 1—6.

CYNNWYSA yr epistol hwn ddwy ran, y gyntaf yn bynciol a'r olaf yn ymarferol; ac y mae y ddwy adnod ar bymtheg cyntaf o bennod y testyn yn fath o bont i groesi o'r naill i'r llall. Ceir yma y pynciol a'r ymarferol ynghyd, neu, yn hytrach, y pynciol mewn gwedd ac i bwrpas ymarferol;—dyry yr Apostol grynodeb yma o brif athrawiaeth y llythyr, fel cymhelliad i ymarfer dyledswydd neillduol a wasga ar ei ddarllenwyr yn y llythyr.

Cenadwri arbenig yr epistol hwn, mae yn debyg, yw *undeb.* Myn rhai mai "Gras" ydyw ei arwyddair, ac nid heb ddadl lled olygus dros y dyb, oblegid mae y gair gwerthfawr hwn i'w gael ynddo dair ar ddeg o weithiau. "Yr Eglwys yn Nghrist," ebe eraill ydyw ei bwnc arweiniol, a dichon fod cryn lawer i'w ddyweyd dros y syniad hwn hefyd. Eithr wedi y cwbl nid yw athrawiaeth gras nac undeb yr eglwys gyda Christ yn cymeryd i fyny red-

iad ac amcan cyffredinol yr holl lythyr, fel yr ymddengys fod y syniad o undeb a chydoddefiad crefyddol.

Pan ystyriom amcan ac amgylchiadau ysgrifeniad yr epistol hwn, arweinir ni yn naturiol i'r casgliad mai undeb ydyw ei brif genadwri. Bernir mai math o gylchlythyr ydyw, wedi ei fwriadu, nid i eglwys Ephesus yn unig, eithr i gylchdaith o eglwysi ag yr oedd Ephesus yn un, ac fe allai y benaf o honynt. Os cyfeiriwch i adnod gyntaf y bennod gyntaf, chwi a gewch y geiriau hyn, "Paul, apostol Iesu Grist, trwy ewyllys Duw, at y saint sydd yn Ephesus, a'r ffyddloniaid yn Nghrist Iesu." Yn ol yr adnod hon, fel y mae, at yr Ephesiaid yn unig y cyfeiriwyd y llythyr. Ond fel y gŵyr llawer o honoch, bernir gan wŷr o awdurdod uchel nad oedd yr ymadrodd "yn Ephesus" yn y testyn gwreiddiol, ac mai fel hyn y dylid darllen, "Paul, apostol Iesu Grist, trwy ewyllys Duw, at y saint sydd —— a'r ffyddloniaid yn Nghrist Iesu." Felly y ceir yr adnod yn y llawysgrifau hynaf ac uwchaf eu hawdurdod. Pa gyfrif sydd am hyn? Yr esboniad mwyaf naturiol yw yr un a awgrymwyd, sef mai *cylchlythyr* ydyw a fwriadwyd at wasanaeth cylch o eglwysi oedd yn agos i Ephesus, yn gystal ag at wasanaeth y saint oedd yn Ephesus ei hun; ac fod y gwagle wedi ei adael gan Paul yn fwriadol rhag i Ephesus na'r un eglwys arall oedd yn y cylch ei unig feddiannu. Dichon hefyd fod copïau yn cael eu cymeryd o hono gan ryw law gyfarwydd, at wasanaeth yr eglwysi, ac fod y blanc yn cael ei lenwi gydag enw pob eglwys ar y copi o'r llythyr oedd yn perthyn iddi. Yn awr, mewn cylchlythyr a ysgrifenwyd dan y fath amgylchiadau, naturiol yw casglu ymlaen llaw mai ei brif genadwri yw undeb —undeb rhwng y cylch o eglwysi, oedd mewn golwg, â'u gilydd, ac undeb rhwng aelodau pob eglwys ar ei phen ei hun, y naill gyda'r llall.

Onid hwn yw yr allwedd i ystyr y termau sydd yn britho y rhan gyntaf o hono, megys "crynhoi ynghyd," "ei gorff Ef," "cyd-ddinasyddion," "teulu Duw," "cym-

hwys gyd-gysylltu," cyd-gorff," a'r cyffelyb? Ac yr ydych yn craffu fel y mae yr apostol yn rhan olaf yr epistol yn annog i ymarferion da, ac yn cynghori i ymwrthod â'r rhai drwg, ar y tir yma o undeb—mai "aelodau ydym i'n gilydd" (iv. 22—32). Yn wir, undeb yn ei ystyr lawnaf ydyw dechreu a diwedd, pwnc a dyledswydd y llythyr godidog hwn. Fel y dywedir weithiau, mai ail ddyfodiad Crist yw prif destyn y llythyrau at y Thessaloniaid; dysgyblaeth eglwysig yr epistol cyntaf at y Corinthiaid, a chyfiawnhâd trwy ffydd y llythyr at y Rhufeiniaid; neu fel y gelwir yr un at y Philippiaid yn epistol llawenydd; yr un at y Colossiaid yn destyn-lyfr penogaeth Crist; felly gyda'r un priodoldeb y gellir golygu mai prif bwnc yr epistol hwn ydyw Undeb Cristionogol.

Dylai y llythyr hwn fod mewn bri neillduol yn yr oes hon, fel yr oedd yr epistol at y Galatiaid, epistol *Rhyddid*, yn yr unfed ganrif ar bymtheg. Onid oes yr undebau, o bob math, mewn byd ac eglwys, ydyw hon? Ac i oes dan lywodraeth ysbryd felly, beth a ddylai fod mor gydnaws â'r egwyddor fawr o undeb, yn ei chysylltiadau goruchaf, fel y gosodir hi allan yn yr epistol at yr Ephesiaid?

Craffwch ar eiriau y testyn, a gwelwch fel y mae Paul yn rhoddi cymhwysiad ymarferol i'r egwyddor hon. "Deisyf gan hyny"—yn ngoleuni athrawiaeth y pennodau blaenorol, gwna drosol o'r pynciol i ysgogi yr holl ymresymiad yn nghyfeiriad yr ymarferol,—"yr wyf fi, y carcharor yn yr Arglwydd"—nid yw uwchlaw apelio at deimlad er mwyn cyrhaedd ei amcan, saif yn ei gadwyni i ddeisyf arnynt—"ar rodio o honoch yn addas i'r alwedigaeth y'ch galwyd iddi. Yr alwad i deulu Duw ydyw yr alwedigaeth, a'r ffordd i rodio yn addas iddi ydyw byw mewn undeb â'u gilydd fel plant anwyl. Y modd i fedru gwneuthur hyny ydyw meithrin "gostyngeiddrwydd"—bod heb chwennych y blaen; "ac addfwynder"—tymher lariaidd ac atdynol; "ynghyd a hir ymaros"—hunanfeddiant yn ngwyneb cyth-

ruddiadau i fod yn gyrch ac afrywiog a geir oddiwrth eraill. "Gan oddef eich gilydd mewn cariad." Dyma y darnodiad ysgrythyrol o undeb crefyddol, nid unfrydedd barn, nid cydolygu â'n gilydd; eithr goddef ein gilydd, rhoddi a chymeryd a gwneyd y cwbl yn awyrgylch cariad. "Gan fod yn ddyfal i gadw"—meithrin a gofalu am—"undeb yr Ysbryd"—yr Ysbryd Glân fel y ceir egluro. Gwaith yr Ysbryd yw creu yr undeb hwn, ein gorchwyl ni ydyw gofalu rhag ei dori, ei gadw "yn nghwlwm tangnefedd." Tangnefedd yw y cwlwm sydd yn cysylltu y saint wrth eu gilydd mewn cariad. Dyma y ddyledswydd a gymhellir ar yr eglwysi drwy yr holl epistol, sef cydoddefiad ac undeb. Yn y 4, 5, a'r 6ed adnod dwg ymlaen y rheswm dros yr ymarferiad o'r undeb hwn. "Un corff sydd," &c. Nodir yma y cylymau o undeb sydd yn cyfuno credinwyr yn un eglwys fawr ac arbenig, yn ol y cynllun perffaith o honi, yn y Meddwl Dwyfol. Pwnc y testyn, gan hyny yw, fod y ffaith mai un yw yr eglwys yn annogaeth i'w haelodau oddef eu gilydd mewn cariad; neu mewn geiriau eraill,

## UNDOD YN GYMHELLIAD I UNDEB.

Yr ydych yn cadw mewn cof, y gwahaniaeth sydd rhwng undod ac undeb. Ond craffu arnynt, mae y geiriau byrion hyn yn egluro eu hunain. Dynoda y gair undod fod y gwrthddrych yn un, ac nid yn llawer—ïe, yn un corff, er yn llawer o ranau; tra mae undeb yn golygu cydymdeimlad a chydweithrediad y llawer hyny fel rhanau gwahanol un corff. Un yw yr eglwys, serch fod ei haelodau yn llawer; dylai yr aelodau lawer hyn gydymdeimlo â'u gilydd gyda golwg ar yr un amcan, a chydweithredu yn hollol y naill gyda'r llall. Y cyntaf ydyw undod, a'r diweddaf yw undeb; a dysgu fod un yn annogaeth i'r llall, ydyw cenadwri neillduol geiriau y testyn.

I.

UNDOD MEDDYLDDRYCHOL YR EGLWYS. Adn. 4—6.

Mae llygad yr Apostol yma, nid ar un eglwys neillduol, na'r cyfangorff o honynt gyda'u gilydd, fel y gwelir hi gan ddynion; eithr y wir eglwys mewn meddylddrych—yn yr *ideal*,—yr eglwys fel y mae Duw yn ei gweled ac wedi ei rhaglunio. Yr ydych yn sylwi fod y ferf "sydd" mewn llythyrenau Italaidd, i arwyddo nad yw o gwbl yn y wreiddiol; ac nid oes anghen am dani; oblegid am yr eglwys ymhob oes, yr eglwys feddylddrychol, mae yr Apostol yn llefaru.

Adnodau hynod ydyw y testyn. Maent mor fanwl a chredo, ac mor fywiog ag awdl. Ceir ynddynt gydgyfarfyddiad rhyfedd o drioedd. Yn adn. 2, ceir tri nodwedd cydoddefiad crefyddol, sef gostyngeiddrwydd, addfwynder, a hirymaros; mewn rhanau eraill enwir y tri gras, ffydd, gobaith, a chariad. Y Tri Pherson Dwyfol, sef yr Ysbryd, yr Arglwydd, a Thad oll. Neu, manyler ar bob un o'r tair adnod olaf wrthi ei hunan, a cheir ymhob un o honynt, engraifft o driawd nodedig o brydferth; megys yn adn. 4, "corff, ysbryd, a gobaith;" adn. 5, "Arglwydd, ffydd, a bedydd;" adn. 6, "goruwch oll, trwy oll, ac yn oll." Yn y trioedd diweddaf a nodwyd, cyflëir dolenau yr undeb sydd yn gwneuthur yr eglwys yn un. Ac wedi y cwbl, y drychfeddwl hwn, sef undod, ydyw meddwl arweiniol yr Apostol yma. Arfera y gair bychan un, saith o weithiau yn y tair adnod olaf. Edrychir ar saith yn gyffredin, yn y Bibl, fel y rhif perffaith; mae undod yr eglwys yn un perffaith a diwnïad.

1. Edrychir arno *yn ei berthynas â'r Ysbryd Glân.*

Dyma yr hyn a ddysgir yn y bedwaredd adnod. Saif y gair cyntaf, corff, am yr eglwys; yr ail am yr Ysbryd Glân; a'r trydydd am y gobaith o iachawdwriaeth a nefoedd ag y gelwir aelodau yr eglwys ysbrydol iddo, pan

enir hwynt o'r Ysbryd i mewn iddi. Cymerir y gymhariaeth oddiwrth y corff dynol, ac nid anhawdd yw olrhain y gyfatebiaeth. Yr eglwys, fel y nodir, a feddylir wrth y corff; preswyliad yr Ysbryd Glân ynddi a ragdybir iddi yr hyn yw yr enaid i'r corff dynol. At hyny, fe dybir ymhellach, fod gobaith yn gwasanaethu i'r eglwys yn ei pherthynas â'r Ysbryd Dwyfol, yr hyn a wna bywyd yn y corff dynol, yn ei berthynas â'r enaid. Ond dyma y pwnc i'w egluro trwy y gymhariaeth—fel y mae y corff dynol yn un, serch ei fod yn gyfansoddedig o ranau lawer, am mai un bywyd sydd yn ei dreiddio oll, ac hefyd am mai un enaid sydd yn trigo o'i fewn; felly un corff yw yr eglwys, er yn aelodau lawer, am mai un gobaith ei galwedigaeth oll sydd yn fywyd iddi, ac am mai Ysbryd Dwyfol sydd yn preswylio ynddi. Gobaith yw bywyd yr eglwys, ac ymbreswyliad Ysbryd Duw yw ei henaid. Un Ysbryd sydd, ac un gobaith, am hyny un corff sydd hefyd. Dyma ddolen gyntaf unoliaeth yr eglwys, yn ol dysgeidiaeth y testyn.

2. Edrychir arno *yn ei berthynas â Christ.*

"Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd." Y gymhariaeth yma yw teyrnas. Arglwydd—arlywydd, gair yn dynodi awdurdod teyrn. Y Brenin ar y deyrnas hon yw yr Arglwydd Iesu; y deyrnas ei hun ydyw ei eglwys. Ffydd ydyw y ddolen sydd yn cysylltu pob rhan o'r deyrnas hono wrth ei Harglwydd, fel y mae gobaith, yn ol y bedwaredd adnod, yn cydio y corff wrth yr Ysbryd. Ond gosodir y pwyslais yma hefyd ar y gair bach *un.* "Un Arglwydd," —Un brenin yn ben ac yn ganolbwnc, sydd i bob rhan o'r deyrnas; "un ffydd,"—nid credo y pen a feddylir yma, canys ni fyddai hyny yn gyson â diwedd yr ail adnod, ond ymddiriediad y galon, ac un yw hwnw bob amser; ac "un bedydd," yn arwydd allanol o'r ffydd hono yn ein Brenin. Canlyniad anocheladwy y cwbl yw, mai un deyrnas ydyw yr eglwys.

Gofynir gan rai paham na buasai yr apostol yn nodi Swper yr Arglwydd, yn gystal a bedydd, gan mai Sacra-

ment yw y naill fel y llall. Yn ei zel dros y rhesi o drioedd a geir yn y paragraph, etyb un esbonwyr Allmaenaidd, mai er mwyn cadw at y triawd sydd yn yr adnod y gadawyd y Cymun allan o honi. Ateba Ellicott yn llawer mwy synwyrol, mai drychfeddwl arwyddocaol y Swper sanctaidd yw *undeb*, tra y mae bedydd, yr hwn na weinyddir ar Gristionogion ond unwaith am byth, yn arwyddo *undod*, ac felly yn gwasanaethu pwrpas yr Apostol gymaint yn well nag a fuasai ychwanegu y Cymun at fedydd, neu ei ddefnyddio yn lle y bedydd.

3. Undod yr eglwys *yn ei berthynas â Duw Dad.* Y mae yr Apostol yn codi yn ngradd ei gymhariaethau wrth fyned rhagddo. Dechreuodd gyda'r corff dynol; yna cododd at deyrnas; ond yma, cymerir y gymhariaeth o'r cylch cymdeithasol uwchaf, sef y teulu,—"a Thad oll." Mae pob aelod o'r wir eglwys yn blentyn i Dduw. Un Tad sydd yn gystal ag un Arglwydd, neu un Ysbryd. Os un Tad, yna un teulu.

4. *Cwlwm terfynol unoliaeth ac undod* yr eglwys yn *mherthynas ac undod y Personau Dwyfol.* Beth arall ydyw meddwl rhan olaf y chweched adnod? "Un Duw . . . yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll." Dywedir y byddai yn fwy cywir gadael allan derfyniad meddiannol yr arddodiad "ynoch," a darllen yn syml, "ac *yn* oll." Beth yw y meddwl? Cyfyngir cylch yr ansoddair "oll," at yr eglwys, gan yr esbonwyr goreu, a hyny am resymau digonol, dybygid. Yr eglwys ydyw testyn y paragraph, a chan nad oes dim yn y geiriau yn awgrymu yn wahanol, naturiol yw golygu mai yr oll o'r eglwys a feddylir yma ac nid pob *peth.* Ond beth a feddylir, pan ddywedir "yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac yn oll," o'r eglwys? Beth sydd yn cyfrif yn fwy naturiol am y gwahanol osodiadau hyn a briodolir i'r "Un Duw," na hen esboniad Irenaeus, sydd yn dal mai undod y Tri Pherson Dwyfol sydd gan Paul mewn golwg yma? Gwyddoch am y gwrthddadleuon a gyfodir iddo; a rhaid addef fod rhai o honynt yn anhawdd

i'w hateb. Ond er ei holl anhawsderau, y mae yr eglurhad cysonaf gydag ymresymiad y paragraph, yn gystal a'r esmwythaf ar eiriau yr adnod ei hun ag y gwn am dano; ac hyd nes cael ei well, glynaf wrtho. Sylwedd yr esboniad hwnw ydyw hyn:—mai at y Tad y cyfeirir yn yr ymadrodd "goruwch oll;" at y Mab yn y geiriau "a thrwy oll;" ac mai yr Ysbryd Glân a olygir wrth "yn oll." Y Tad ydyw gwreiddyn yr Hanfod Ddwyfol, ac efe yw nôd terfynol bodolaeth a defosiynau yr eglwys. Y Tad ydyw y pen ymhob teulu priodol ei drefn; felly yma ein Tad nefol,—"a Thad oll"—sydd goruwch oll, o ran awdurdod a pharch yn yr eglwys, teulu Duw. Y Mab yw y Cyfryngwr sydd "trwy yr oll." Addefaf fod gwahaniaeth, fel y sylwa Dr. Eadie, rhwng yr ymadrodd, yr oll trwy Grist, a dyweyd, Crist trwy yr oll, ond y mae y gwahaniaeth yn fwy mewn geiriau nag mewn sylwedd. Yr Ysbryd Glan, drachefn, sydd "yn oll," o'r eglwys, fel y mae yr enaid yn y corff dynol, fel y gwelsom wrth egluro y bedwaredd adnod.

Ond pwynt yr Apostol yma yw dangos mai "un Duw" ydyw y Tri Pherson goruchel sydd yn arweddu yr holl berthynasau amrywiol hyn gyda'i eglwys. Wrth i'r Cymry adeiladu eu capel newydd yn City Road, Llundain, cafwyd allan fod y tir ar yr hwn yr oedd yr adeilad i sefyll yn fradwrus i osod y sylfaen arno. Yr oedd yn llawn o siglenydd dyfnion, os nad hefyd yn hen gladdfa y meirw —hwyrach fod Bunhill fields yn cyrhaedd mor bell a hyny yn y dechreuad; modd bynag, parai natur y sylfaen fod yn ofynol rhoddi mwy nag arfer o elfenau nerth yn yr adeilad ei hun. Ac felly y gwnaed. Heblaw y cwlwm undeb a roddir yn gyffredin i'r sylfeini, a'r rhwymyn sydd yn peri i'r muriau gyfnerthu eu gilydd, ac yn ychwanegol at y clo sydd yn cydio y nenfwd ynghyd gwnaed bwa, neu olwyn geryg—oblegid mai dau hanner y bwa yno—yn nghanol talcen pellaf yr adeilad sydd yn cydio yn y sylfaen, y muriau, a'r nen ac yn cysylltu ynghyd fel un cyfanwaith morthwyl. Yn yr olwyn hono,

mae holl ddolenau undeb pob rhan o'r adeilad yn cydgyfarfod.

Felly y mae ymresymiad Paul yn y testyn gyda golwg ar undeb ac undod yr eglwys. Ar hen fynwent yr adeiledir yr eglwys, ac nid heb achos y gwneir hi yn gadarn a pharhaus. Mae yna gwlwm undeb yn y *roof*—un teulu ydym yn ein perthynas â'n Tad, yr hwn sydd goruwch oll; mae cwlwm arall o undeb yn y sylfaen—un deyrnas ydym oll yn ein perthynas â'r Mab, yr hwn sydd trwy oll; ac y mae dolen arall o undeb yn nghorff yr adeilad, oblegid un corff ydym yn ein perthynas â'r Ysbryd Glan. Ond y mae yma fwy na hyny. Mae yma hefyd olwyn fawr yn y canol—enw yr hon yw "un Duw"—yn yr hon y mae y tri chwlwm hyn yn cydgyfarfod ac yn ymgolli yn nirgelwch anolrheinadwy y Tri yn Un.

Ac y mae pob gosodiad yn yr ymresymiad hwn, tra yn egluro undeb yr eglwys, yn profi ei hundod hefyd. A'r olaf sydd mewn golwg yma. Os nad oes ond un Ysbryd, un Arglwydd, un Duw a Thad oll; os nad oes ond un gobaith, un ffydd, un cariad; yna rhaid nad oes ond un corff, un deyrnas, un teulu—un eglwys.

## II.

Yr undod meddylddrychol hwn yn annogaeth i undeb ymarferol rhwng aelodau yr eglwys a'u gilydd.

Er mwyn ei ddefnyddio i'r amcan ymarferol hwn, y gesyd yr Apostol ger bron y pwnc o undod yr eglwys. Ac y mae yn anhawdd meddwl am gymhelliad effeithiolach i undeb. Cymerer yr olwg a fyner arno.

1. Edrycher arno ar yr egwyddor o *undeb buddiant.* Mae hon yn egwyddor lydan a phwysig iawn; ac yn mha raddfa neu gysylltiad bynag y ceir hi, ei heffaith naturiol ydyw dwyn dynion i gydweithredu a chynnorthwyo eu gilydd. Dyna y clwb cleifion. Nid oes neb o aelodau y cyfryw

gymdeithas a fuasai mor ffol a niweidio iechyd aelod arall, oblegid canlyniad hyny fyddai i'r aelod a niweidiwyd ganddo ddyfod ar y clwb, ac i ran o'r draul hono fod yn golled yn y pen draw i'r aelod a'i niweidiodd. Neu meddylier am gymdeithas adeiladu. Mor ynfyd fyddai i ddyn â chanddo gyfranau ynddi, dori i lawr ei chredyd yn y farchnad er mwyn dial ar ryw un arall sydd yn aelod o honi, oblegid wrth golledu ei gymydog par golled iddo ei hunan hefyd. Yn rhinwedd yr egwyddor o undeb budd-iant, mae y ddau aelod fel eu gilydd, a phob aelod arall yn y gymdeithas hono, yn cydsefyll neu yn cydsyrthio. Ar yr egwyddor hon y gellir esbonio llwyddiant y Gweithfaoedd a ddygir ymlaen yn Lloegr ar yr hyn a elwir y *Rochdale plan.* Nid at y *Co-operative Stores* yr wyf yn cyfeirio; eithr at weithfaoedd mawrion a weithir ar yr egwyddor o ranu yr ennillion rhwng pawb perthynol iddynt—y gweithwyr a'r meistriaid, yn ol graddfa neillduol ag y cytunwyd arni wrth gychwyn. Yn ol y *Registrar's returns* y flwyddyn ddiweddaf, mae yn y Deyrnas yn agos 1300 o gymdeithasau felly, ac yr oedd yr elw clir am yr ugain mlynedd diweddaf dros ugain miliwn o bunnau, y rhan fwyaf o'r hwn a aeth i logellau y dosbarth gweithiol. Dywedir fod oddeutu hanner cant o weithfaoedd felly, yn cael eu dwyn ymlaen gan weithwyr yn unig, ac nad oes dim yn y deyrnas yn talu yn well nac yn cael eu gweithio yn rhagorach. Mae pob gweithiwr yn y lle yn teimlo mai ei fantais uwchaf ydyw gwneyd ei oreu i beri i'r gwaith dalu; ac am yr un rheswm, mae y naill weithiwr yn arolygwr i'r llall. Mae yr egwyddor o gyfundeb buddiant yn tynu pawb sydd yn perthyn i'r gwaith allan i'w eithaf, ac yn sicrhau y cydweithrediad mwyaf llawn a chalonog rhyngddynt a'u gilydd.

Pe baem ninnau yn sylweddoli yn ddyladwy mai "un corff" yw eglwys Crist, a'n bod oll yn aelodau i'n gilydd, undeb a chydweithrediad llawn fyddai yr effaith arnom ninnau hefyd. Yr hyn sydd yn cuddio oddiwrthym undod

yr eglwys, sydd yn attal i ni garu ein gilydd a chydweithredu. Dichon fod gan enwadaeth grefyddol ryw genadwri ddaionus i'r wlad; ond yn hyn, sef yn y duedd sydd yn y gwahaniaeth a'r gwahanfodaeth grefyddol yma i guddio y drychfeddwl mai un corff yw eglwys Crist, rhaid addef fod bodoli fel yr ydym yn sectau gwahanol yn dra anfanteisiol i undeb crefyddol. Y mae yn bosibl i ni oddef ein gilydd mewn cariad tra yn wahanol enwadau; eithr nis gellir cael gwir undeb calon a chyflawn gydweithrediad crefyddol hyd nes i'r teimlad sydd wedi rhoddi bôd i sectau, os nad y ffiniau allanol hefyd, gael eu llyncu i fyny gan yr argyhoeddiad mai un corff sydd. Yr argyhoeddiad hwn a'n dysg ein bod wrth archolli brawd yn Nghrist, o ba farn bynag y byddo, yn dolurio yr holl gorff, ac yn y pen draw yn niweidio ein hunain, ar yr egwyddor ein bod ninnau hefyd yn rhan o'r corff hwnw. Mae yr egwyddor yn iachus. Colled un, colled pawb; a mantais pawb, mantais i bob un. Yr egwyddor hon sydd gan Paul yn y bennod hon, fel rheswm dros i bob un ddywedyd y gwir, a pheidio lladrata (adn. 25—27): "Oblegid," meddai, "aelodau ydym i'n gilydd,"—un corff ydym.

2. Mae undod yr eglwys yn gymhelliad i undeb hefyd ar yr *egwyddor o briodoldeb naturiol.* Nid yn unig mae buddiant cydgyfranogol yn galw am hyn, ar y tir mai un corff ydym, fel y gwelsom; eithr y fath yw ein perthynasau ni â'n gilydd, fel na fyddai yn weddus i ni ymddwyn yn wahanol; mae priodoldeb naturiol pethau yn cymhell arnom undeb a brawdgarwch. Byddai ymddygiad gwahanol yn wrthuni ac yn annaturiol. Dywed Paul mai "un corff" ydym, mewn cyfeiriad allegol at y corff dynol. Mor annaturiol a fyddai gweled gwahanol aelodau y corff hwnw yn ymrafaelio â'u gilydd—y llaw yn clwyfo y llygad—y naill droed yn sathru y llall. Ni welir unrhyw anghydfod gwrthun felly ymysg aelodau y corff, eithr yn lle hyny, cydymdeimlant oll â'u gilydd, a gwasanaethant y naill ar y llall gyda pharodrwydd greddfol. Os daw pryf

i'r llygad, prysura y llaw i'w dynu allan, ac y mae y ddau droed yn chwareu bob yn ail, un yn cynnal tra fyddo y llall yn codi, ac yn cydweithio yn siriol â'u gilydd. Felly ninnau, "a ni yn llawer, ydym un corff yn Nghrist, a phob un yn aelodau i'n gilydd."

Os un Arglwydd sydd, yna fel y gwelsom hefyd, un deyrnas sydd, a beth fyddai yn fwy ynfyd ac anweddus nag i deyrnas ymranu yn ei herbyn ei hun? Teyrnas felly ni saif, ac ni ddylai fedru sefyll. "Un ffydd," sydd hefyd i gysylltu y deyrnas wrth ei Harglwydd, a thuedd naturiol y ffydd hono ydyw cylymu deiliaid y deyrnas y naill wrth y llall. Diffyg ffydd sydd yn ysgaru ac yn pellhau pobl; diffyg ymddiried mewn teulu neu gymdeithas, a bâr i'r teulu neu y gymdeithas hono fyned yn ysgyrion; ond lle y byddo *confidence*—ffydd yn ystyr y testyn—mae yno rwymyn undeb fel deddf atdyniad sydd yn cryfhau gyda chynnydd y corff.

Gwelsom hefyd mai *un teulu* ydym, ar gyfrif ein cyd. berthynas â'r un Duw a Thad oll. Os un teulu, yna brodyr; ac os brodyr, yna brawdgarwch—undeb. Rhwymyn undeb y corff dynol ydyw y bywyd sydd ynddo; rhwymyn undeb teyrnas ydyw ffydd, ymddiried; ond mewn teulu mae rhwymyn bywyd a rhwymyn ffydd, ac am ben hyn oll rhwymyn cariad, yn cydgyfarfod. Y teulu ydyw y drychfeddwl uwchaf a pherffeithiaf o gymdeithas a feddwn, a'r egwyddor brydferthaf mewn teulu ydyw undeb. Mae priodoldeb naturiol pethau yn cymhell brawdgarwch ar aelodau o'r un teulu. Cain o ddyn ydyw yr hwn a laddo ei frawd. "Pob un a'r sydd yn casâu ei frawd, lleiddiad dyn yw." Mae brawdoliaeth ar y raddfa iselaf yn rhwymo i frawdgarwch, ond yr ydym ni aelodau y wir eglwys, yn frawdoliaeth ar y raddfa uwchaf—fel teulu Duw. Yr ydym yn perthyn yn nês i'n gilydd nag y mae angelion. Brodyr fel creaduriaid Duw ydynt hwy, ond yr ydym ni yn frodyr fel plant i Dduw; a byddai yn llai gwrthun a phechadurus i angelion amrafaelio â'u gilydd nag a fyddai

i ni wneuthur hyny. Fel un corff, fel un deyrnas, ac fel un teulu, mae pob rhwymau y gellir dychymygu am danynt yn gorphwys arnom i garu ein gilydd, ac i gydweithredu y naill gyda'r llall.

Y mae y syniad hwn o undod yr eglwys yn agor meusydd diddiwedd o ystyriaethau sydd yn cymhell i undeb. Os un corff ydym, un amcan sydd genym oll, gan hyny, cydweithredwn. Os un deyrnas ydym, yr un awdurdod sydd genym i'w chydnabod, yr un deddfau i'w cadw, yr un trethi i'w talu, yr un brwydrau i'w hymladd, a'r un Brenin i'w anrhydeddu; gan hyny safwn ochr yn ochr, a byddwn un â'n gilydd. Ac os un teulu ydym, yna un bwrdd, un ddiwyg, un iaith, un gwaith, un difyrwch, un tywydd ar y daith, ac un cartref yn y diwedd; gan hyny ymwasgwn â'n gilydd, bwriwn ymadroddion caredig y naill wrth y llall, ac ymgynnefinwn gyda'n gilydd gymaint a allom, fel y byddom barod i ymddangos ymysg teulu Duw yn y cartref fry i beidio ymadael mwy. Sonir llawer am adnabod ein gilydd yn y nefoedd, a chael ysgwyd llaw gyda phendefigion Duw ger bron yr orsedd. Da hyny yn ei bryd. Onid gwell fyddai ceisio adnabod ein gilydd yn fwy trwyadl ar y ddaear, ac ysgwyd llaw yn amlach ar y siwrnai tua'r nefoedd?

Undeb crefyddol ydyw y cri mewn rhai cylchoedd yn Lloegr yn awr; ac yr ydym ninnau yn Nghymru yn agosach at ein gilydd nag y buom ni erioed. A oes dim modd dyfod yn nês? Benthyca un enwad eu capel i enwad arall gyda sirioldeb, ac nid peth dyeithr ydyw i'r pregethwyr gyfnewid pulpudau. Mae gweinidogion goreu a lleygwyr mwyaf goleuedig pob enwad yn caru eu gilydd o galon bur yn helaeth. Ond ai tybed nad oes modd cael arddangosiad ymarferol o'r cariad hwn? Yn Canada y mae y canghenau Wesleyaidd wedi ymuno â'u gilydd, a'r peth olaf a glywais ydoedd eu bod yn ymgyfathrachu â'r Presbyteriaid gydag amcan cyffelyb. Estynwyd deilen olewydden heddwch allan yn Lloegr rai misoedd yn ol gan rai o'n Cyfundeb ni tuag

at y *New Connexion*, a chyfododd holl newyddiaduron y deyrnas eu llef mewn cymeradwyaeth. A oes dim modd cael gwell deall rhwng y ddwy ganghen Fethodistaidd yn Nghymru ? Maent yn blant yr un diwygiad crefyddol, ac yr oedd eu sylfaenwyr yn gyfeillion. Gwn am yr hen ddadleuon a'r teimladau chwerwon oedd yn cydfyned â hwy, eithr y gwlaw hwnw a basiodd a'r gauaf a aeth heibio. Nid oes neb o arweinwyr presennol y naill ganghen na'r llall yn awyddus iawn i ymladd yr hen frwydrau hyny drosodd eto, nac i adgyfodi y teimladau chwerwon a'u nodweddent. Cymwynasgarwch âg eglwys Crist ydyw eu gollwng i ebargofiant. A beth am y canghenau Ymneillduol eraill ? Os un corff, os un deyrnas, os un teulu ydym, paham nad allwn ymwasgu yn nês at ein gilydd, a rhoddi arddangosiad ymarferol o hyn ger bron y byd ?

Chwychwi sydd hyd yma o'r tu allan i gylch teulu Duw, deuwch drosodd. Mae y drws yn agored, a llon'd calon Duw o groesaw. Brysiwch i fewn. Paham yr oedwch awr ? Duw a'ch cynnorthwyo. Amen.

## PREGETHAU A PHREGETHWYR.

*Life and Works of the Late Rev. F. W. Robertson, M.A., of Brighton.*

*Sermons. Four Volumes.*

*Notes on Genesis. One Volume.*

*Expository Lectures on Corinthians. One Volume.*

*Lectures and Addresses, with other Literary Remains. Introduction by the Rev. Stopford A. Brooke, M.A. One Volume.*

*The Education of the Human Race. Translated from the German of Lessing. One Volume.*

*Life and Letters. Edited by the Rev. Stopford A. Brooke, M.A. Two Volumes.*

*A New Life, by Rev. F. Arnold, B.A. One Volume.*

MAE yr uchod yn cynnwys rhestr o brif weithiau argraffedig yr athrylithgar a'r enwog Robertson, diweddar weinidog yr Eglwys Sefydledig yn Trinity Chapel, Brighton. Gyda ryw eithriad neu ddwy, ar ol ei farwolaeth ef y cyhoeddwyd ei bregethau, ei ddarlithiau, a'i anerchion. A hyny dan yr amgylchiadau mwyaf anfanteisiol. Ni fwriadwyd hwynt erioed ar gyfer y wasg, ac ymddengys nad oedd ond ychydig iawn o honynt wedi eu hysgrifenu cyn cael eu traddodi ganddo. Ffordd ryfedd oedd ganddo o barotoi ar gyfer y pulpud, ac un o'r pethau mwyaf adgas ganddo oedd adgynnyrchu ei bregethau ar ol eu traddodi. Mewn gwirionedd nid yw y cynnyrchion cyfoethog hyn namyn "Adgofion," a ysgrifenwyd oddiar ei wefusau gan rai o aelodau ieuengaf teulu ag y cymerai ddyddordeb neillduol ynddo; neu ynte a ysgrifenwyd allan ganddo ef ei hunan iddynt hwy pan fyddent oddicartref ac yn rhy bell i eistedd dan ei weinidogaeth. Y pethau hyny, fel yr oeddynt, heb gywiriadau na chwanegiadau o fath yn y byd, ydyw y pregethau rhyfeddol hyn, ag y mae eu clod wedi myned ar led holl wledydd Cred. Nid ydynt ar y goreu ond darnau ac adfeilion, mewn cyflwr cymharol erwin ac anorphen-

ol, o'r pregethau llawnion, llafurfawr, a gorphenedig, a draddodid gan y pregethwr aurenau, yn Nghapel y Drindod. Ac eto, fel y maent, dichon nad oes cyfansoddiadau cyfoethocach o awgrymiadau ac ysbrydiaeth, llawnach o feddyliau iraidd, beiddgar, gwreiddiol, a dysglaer, yn cael eu cyfleu mewn diwyg ragorach, o ran grymusder a bywiogrwydd, erioed wedi eu cyhoeddi trwy y wasg. Nid ydynt yn cyfatal y Pen, mewn uniawngrededd ar rai o byncian pwysig yr efengyl, a phrin mae yn briodol dyweyd fod gan y pregethwr gyfundrefn feddyliol gyfan a chyson o'i eiddo ei hun; ond eto mae rhyw gyfaredd yn perthyn iddynt nas gellir ei elfenu na'i egluro, mwy nag y gellir dianc o afael ei swyn a'i ddylanwad. Cynnyrchion gwir athrylith ydynt.

Ond beth am y pregethwr byw? Diau fod Robertson yn ei ddydd yn un o'r pregethwyr mwyaf yn y byd. Ei fod felly o ran mater a thraddodiad. Yr oedd y bregeth yn fawr ymhob ystyr, ar wahan i'r traddodiad, fel y gellir casglu oddiwrth y cyfrolau argraffedig; ac yr oedd y traddodiad mor ragorol â'r bregeth, ac yn ychwanegu yn ddirfawr at ei gwerth a'i dylanwad. Yr oedd pob peth ffafriol tuag at wneyd pregethwr mawr yn cydgyfarfod ynddo. Yr oedd yn ŵr tàl a lluniaidd, agos i ddwy lath o daldra, ac o osodiad syth a milwrol. Meddai gyfansoddiad gïeuog heb nemawr o gnawd o'i gwmpas, ond yn llawn, yn angerddol lawn, o yni o bob math,—anianyddol, gïeuol, a meddyliol. Yr oedd *muscle* a *nerve* ac ymenydd, pob rhan o gorff a meddwl y dyn, yn orlawn o weithgarwch, fel y môr yn dygyfor ac ni allai fod yn llonydd. "He was made," ebe rhywun am dano, "of air and fire." Prin fod clai a dwfr yn agos ato. Meddwl ac ysbryd ydoedd i gyd. Dyoddefai anfantais fechan oddiwrth gulni ac isder ei fynwes, ac yr oedd ei dynerwch cyfansoddiadol yn ei wneuthur yn dra agored i ddylanwad allanol o bob rhyw.

O ran pryd a gwedd, wyneb teneu a llwyd oedd ganddo, clasurol ei ffurf a thirion ei fynegiant; talcen uchel a llawn; trwyn Groegaidd, genau teneufin pwrpasol i siarad; llygaid treiddgar a synllyd; cernau ysgeifn a hirgrwn, yn cael eu gorchuddio gan ychydig flew—hyny a ganiatâi i gael tyfu ar ei wyneb. Y fynyd y safai i fyny ar esgynlawr neu mewn pulpud, gorchymynai ei ymddangosiad personol sylw a pharchedigaeth pawb cyn agoryd o hono ei enau.

Meddai lais dwfn, cryf, a soniarus. Rhuai fâs wrth bregethu, a gerddai yn rhwydd dros yr eglwys, a byddai pob nodyn fel organ o beraidd. Ac yn nodweddiadol o gyfansoddiad corfforol y dyn ymhob peth, yr oedd ei lais yn nodedig o ystwyth, ac o gwmpas pur fawr hefyd. Ambell fynyd gwasgai ef i *seinio* y nodau tyneraf, ac yna y fynyd nesaf tynai allan y *stops*, a gollyngai ef fel sain udgorn arian mawr drwy y lle nes hanner syfrdanu y gwrandawyr â pheroriaeth, ac ar adeg felly dywedir fod ganddo rhyw dafliaid yn nhoriad ei eiriau oedd yn ychwanegu yn ddirfawr at effeithiolrwydd y traddodiad.

Ychydig iawn o'r areithyddol oedd yn ei ystumiau. Safai braidd yn hollol lonydd, heb symud llaw na churo troed, ac fel un heb deimlo fod neb yn gwrando arno, llifeiriai ei frawddegau allan yn llithrig a llawn, yn ddysglaer a soniarus fel afon o ddwfr dros ymyl y rhaiadr.

Ond wedi y cwbl, yn ei feddwl grymus, gwreiddiol, dysglaer, a diwylliedig y llechai cuddiad ei gryfder. Meddai ysbryd annibynol iawn. Meddyliodd ei gredo duwinyddol allan drosto ei hunan, a chostiodd y bangfa hono iddo flynyddoedd o'i fywyd, a phrin y diangodd cydbwysedd ei reswm. Ni pherthynai i Maurice na Kingsley, Newman, na neb. Gwnaeth ysgol iddo ei hun, os priodol dyweyd fod ganddo gyfundrefn gyfan o gwbl. Yr ydoedd o argyhoeddiadau dyfnion a thrwyadl, ac yn meddu cariad angerddol at wirionedd, cyfiawnder, a sylweddolrwydd. Gorlenwid ei natur â theimlad dwfn fel y môr a thyner fel y delyn Aeolaidd. Llywodraethai ei deimladau wrth bregethu gyda meistrolaeth hollol; ond ar ol pregethu y Sabboth, byddai hyd foreu dydd Iau fel dyn hanner gwallgof. Parai hyn fod parotoi ar gyfer y pulpud neu adgynnyrchu ei bregethau yn boen dirfawr iddo, ond cyfroddai yn helaeth tuag at ffurfio y grymusder dyeithr ac ysbrydol oedd yn ei feddyliau a'i draddodiad.

Dichon mai ei brif nodwedd ddeallol oedd y cyfuniad uchel a chyfartal oedd rhwng ei reswm a'i ddychymyg. Amlygai allu i elfenu a chyfosod, dirnad a chyffredinoli, a holl briodoleddau rheswm cryf a chraff, a hyny mewn cyfuniad dedwydd â newydd-deb a beiddgarwch, gwres a phrydferthwch, bywyd ac ysbrydolrwydd dychymyg uchelryw a chynnyrchiol. Meddai resymeg, ond rhesymeg ar dân ydoedd; ac yr oedd yn

gyforiog o grebwyll, ond crebwyll mewn undeb â rheswm oedd.

Ac yr oedd ei ragdueddion etifeddol yn fanteisiol iddo, a'i holl dalentau dysglaer wedi eu diwyllio gan addysg dda. Yr oedd o waed milwrol, o genedl Ysgotaidd, ac wedi cael rhan o'i addysg yn Lloegr, rhan arall yn Ffrainc, a rhan arall yn Ysgotland. Yr oedd gwroldeb milwr, rhesymeg Ysgotyn, arddull fywiog Ffrancwr, difrifwch ac ymarferolrwydd Sais, yn cydgyfarfod ynddo,—cyfuniad dedwydd i wneyd pregethwr.

At yr oll yr oedd Robertson yn wir dduwiol—yn ddyn Duw. Bywyd byr a gafodd. Ganwyd ef yn 1816, a bu farw yn 1853, dair blynedd yn fyr o ddeugain mlwydd oed. Cysegrodd ei athrylith ddysglaer fel milwr da i Iesu Grist. Os bu farw yn ieuanc, bu farw ar y maes, a thrwy ei weithiau argraffedig y mae efe, er marw, yn llefaru eto. A thra y pery dynion i osod gwerth ar dalent ddysglaer a gwreiddiol, ac ar bregethau o'r naws fwyaf meddylgar, eangfrydig ac arwrol, sydd yn cyfleu gwirioneddau pwysig yn y dull mwyaf iraidd a phrydferth ac ymarferol ag y gall dyn anysbrydoledig eu trefnu, fe barheir i ledaenu a darllen pregethau Frederick William Robertson.

---

*Geiriau olaf Iesu Grist, neu Gyfres o Ddarlithiau ar Ioan* xiv. xv. xvi. xvii., *gan Owen Evans, D.D., Llundain. Wrexham: Cyhoeddedig gan Hughes and Son. Pris* 3s. 6d.

Mae y gyfrol brydferth hon o waith Doctor Evans yn cynnwys darlun rhagorol o'r awdwr. Ar y wynebddalen, adgofir ni mai efe yw awdwr y gyfrol ar y "Gwyrthiau" a gyhoeddwyd yn 1868; y gyfrol ar y "Dammegion" a ddygwyd allan yn 1873; y ddwy gyfrol ar Berson a Bywyd yr Arglwydd Iesu, a gyhoeddwyd yn 1882; ynghyd a'r gyfrol sydd newydd ymddangos ar "Ferched yr Ysgrythyrau." Argraphwyd yr holl gyfrolau hyn, oddigerth un, yn swyddfa Hughes a'i Fab, Wrexham, ac y maent o ran argraffwaith a rhwymiad yn lanwaith a hardd. Y maent hefyd mewn ffurf

hylaw, ac yn cael eu gwerthu am bris rhesymol, sef tri swllt a chwech cheiniog y gyfrol. Rhyfedd y fath nifer o lyfrau Mr. Hughes, Wrexham, sydd yn cael eu gwerthu am y pris hwn. Tri a chwech yw pris y "Geiriau olaf," serch ei bod yn cynnwys rhai degau yn chwaneg o ddalenau na'r fwyaf o'r lleill, ynghyd a darlun rhagorol o'r awdwr. Boed y gyfrol yn fechan neu yn fawr, yn cynnwys darlun costus neu beidio, ymddengys fod yn rhaid cadw at y pris.

Cefais gyfleusdra yn y *Gwyliedydd* i ddyweyd fy marn yn onest a rhydd ar y cyfrolau ereill, yn enwedig ar yr "Oriau gyda'r Iesu;" ac nid oedd genyf ddim ond da i'w draethu am danynt. Ac y mae y gyfrol hon yn deilwng o'r olyniaeth. Ceir ynddi wyth ar hugain o bregethau, neu yn ol geiriadaeth y wyneb-ddalen, Darlithiau, ar eiriau olaf Iesu Grist, fel eu cofnodir yn Ioan xiv.—xvii. Dichon mai y ffordd ddoethaf fyddai rhoddi cynllun rhai o honynt. Ar y testyn canlynol Ioan xiv. 28—31, ceir pregeth ragorol, yn dwyn y teitl, "*Crist yn esbonio ei farwolaeth.*"

I. Marwolaeth Crist yn ei pherthynas ag ef ei hun.

1. *Fod ei farwolaeth yn fynediad gwirfoddol o'i eiddo o'r byd hwn adref at y Tad.*

2. *Fod ei farwolaeth yn fynediad i sefyllfa fwy dedwydd a gogoneddus.*

3. *Fod ei fynediad yn destyn llawenydd i'r rhai sydd yn ei garu.*

II. Marwolaeth Crist yn ei Pherthynas a'r Diafol.

1. *Teitl y diafol yma*, "tywysog y byd hwn."

2. *Ei ymosodiad*, "sydd yn dyfod."

3. *Ei fethiant*, "Ond nid oes iddo ddim ynof fi."

III. Marwolaeth Crist yn ei Pherthynas a Duw.

1. *Fod marwolaeth Crist yn weithred wirfoddol i'r Tad.*

2. *Fod ufudd-dod Crist yn ei farwolaeth yn tarddu oddiar gariad goruchel at y Tad.*

Ceir pregeth dda iawn hefyd ar "Undeb yr Eglwys," seiliedig ar Ioan xvii. 20—23.

I. Undeb yr Eglwys o ran ei gynllun, "Megys yr wyt ti y Tad, &c."

1. *Yn un mewn barn ar bynciau hanfodol a sylfaenol crefydd.*

2. *Yn un mewn cariad helaeth tuag at eu gilydd.*

3. *Yn un o ran anian a thueddiadau.*

4. *Yn un mewn amcanion a dybenion.*

5. *Yn un mewn cydweithrediad.*

6. *Yn un mewn cydgyfranogiad o'r un bywyd.*

II. Undeb yr Eglwys o ran ei ganolbwynt, "Ynom ni."

1. *Yr Eglwys fel teml, a Christ yn Ben Conglfaen.*

2. *Yr Eglwys fel corff, a Christ fel Pen.*

3. *Yr Eglwys fel canghenau, a Christ y Winwydden.*

III. Undeb yr Eglwys o ran ei bwysigrwydd.

1. *Fe welir ei fod yn bwysig wrth ystyried yr hyn a wnaeth Crist tuag at ei sicrhau.*

2. *Wrth ystyried ei ddylanwad llesol a bendithiol ar y byd.*

Pregeth dda a geir ar "*Dŷ ein Tad*," "*Y Ffordd adref*," "*Daeth yr awr*," a "*Gweddi Crist dros yr Apostolion*." Dealla y darllenydd nad yw yr uchod ond esgyrn yn unig, ac fod yr awdwr wedi eu gwisgo gyda gïau a chig a chroen. Mae pob pregeth yn llawn ac yn hynod eglur, darllenadwy a buddiol. Haedda y gyfrol dderbyniad i bob teulu. Bendith a fyddo arni.

---

# XXXIX.

## GWAITH A HAWLIAU YR YSGOL SABBOTHOL.

"*Gwrando fy nghyfraith, fy mhobl; gostyngwch eich clust at eiriau fy ngenau. Agoraf fy ngenau mewn diareb; traethaf ddammegion o'r cynfyd; y rhai a glywsom ac a wybuom, ac a fynegodd ein tadau i ni. Ni chelwn rhag eu meibion, gan fynegi i'r oes a ddêl foliant yr Arglwydd a'i nerth, a'i ryfeddodau y rhai a wnaeth efe. Canys efe a sicrhaodd dystiolaeth yn Jacob, ac a osododd gyfraith yn Israel, y rhai a orchymynodd efe i'n tadau eu dysgu i'w plant: fel y gwybyddai yr oes a ddêl, sef y plant a enid; a phan gyfodent, y mynegent hwy i'w plant hwythau: fel y gosodent eu gobaith ar Dduw, heb anghofio gweithredoedd Duw, eithr cadw ei orchymynion ef; ac na byddent fel eu tadau, yn genedlaeth gyndyn a gwrthryfelgar; yn genedlaeth ni osododd ei chalon yn uniawn, ac nid yw ei hysbryd ffyddlawn gyda Duw.*"—PSALM LXXVIII. 1—8.

GAN nad beth ydyw galluoedd gwreiddiol a chryngreddfau dyn, ffaith amlwg yn ei hanes yw nad yw yn medru dim heb ddysgu. Mae hyn yn wir am dano mewn ystyr anianyddol—dysgu cerdded a siarad, ymborthi a gweithio;—yn feddyliol, rhaid iddo ddysgu darllen, ysgrifenu, rhifo; mewn gair, rhaid iddo ddysgu meddwl a dysgu y modd priodol i ddadguddio ei feddwl; ac yn foesol, rhaid iddo ddysgu y wybodaeth am Dduw, a dysgu byw yn ol y wybodaeth hono, dysgu tuag at ddeall crefydd, ynghyd a rhodio yn ol ei rheolau. Ammod gosodedig medru dim a berthyn i amser a thragywyddoldeb, yn achos dyn, yw dysgu.

Ar gyfer hyn mae Awdwr ei fôd wedi gwneyd darpariaeth gyfaddas ac eang. Gogyfer â'r cyntaf ordeiniwyd y sefydliad teuluaidd; ar gyfer yr ail gosodwyd ysgolion o bob gradd a gwahanol ranau addysg naturiol; ac ar gyfer yr olaf rhoddwyd i ni y gair, a'r eglwys, y weinidogaeth, a'r Ysbryd, a pha beth bynag arall sydd yn gwneuthur i fyny foddion gras. Mewn oes a gwlad wareiddiedig fel yr eiddom ni, cydnabyddir fod y ddau gyntaf yn werthfawr iawn i ddyn, a'r olaf yn hanfodol i'w fuddiant uwchaf. Dysgu y wybodaeth yn ol duwioldeb yw gorchwyl penaf bywyd dyn, a dylai pob moddion ac ymarferiad arall a berthyn iddo fod yn is-wasanaethgar i hwn. O gymaint ag y mae enaid yn werthfawrocach na'r corff, tragywyddoldeb yn bwysicach nag amser, a hawliau Duw yn uwch na gofynion daear, mae addysg grefyddol, yn ystyr lawnaf yr ymadrodd, yn fwy a phwysicach na'r un ganghen arall yn addysgiant dynolryw. Dyma yr olwg a ddyry y Bibl ar yr achos; yn yr Hen Destament a'r Newydd gosodir y pwys mwyaf ar addysg grefyddol, ynghyd a'r anghenrheidrwydd o'i gweinyddu i ddyn yn moreu ei oes. Arweiniwyd Solomon, y doethaf o ddynion, i neillduo bron yr oll o'i ysgrifeniadau ysbrydoledig i wasanaethu yr amcan hwn. Sylfaenwyd y cymeriadau rhagoraf a wisgwyd gan ddynion erioed yn yr addysg grefyddol a fwynhasant yn eu maboed, a gwnaed rhyfeddodau gan Dduw yn yr hen oesoedd, mewn trefn i ddiogelu parhad ac i effeithioli cyflead addysg grefyddol ar y ddaear. Pan etholwyd Abraham yn dad cenedl fawr a llïosog, fel rheswm dros hyny, dywedodd yr Arglwydd, "Canys mi a'i hadwaen ef y gorchymyn efe i'w blant ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd, gan wneuthur cyfiawnder a barn." Pan sefydlwyd yr enwaediad, gwnaed hyny fel y byddai yn arwydd cyfammod rhwng Duw âg Abraham â'i had. Rhoddwyd cyfreithiau, sefydlwyd gwyliau, cyfodwyd meini coffadwriaethol yn Israel, o bwrpas i fod yn achlysuron ac yn gyfryngau addysg grefyddol i'r

genedl, oes ar ol oes. Geiriau diweddaf Moses iddynt cyn esgyn i'r mynydd i farw ydynt, "Meddyliwch yn eich calonau am yr holl eiriau yr ydwyf yn eu tystiolaethu wrthych heddyw; y rhai a orchymynwch i'ch plant, i edrych am wneuthur holl eiriau y gyfraith hon." Ac onid yw paragraph y testyn yn awgrymu fod trosglwyddiad diogel addysg grefyddol mewn golwg yn neillduad Israel fel cenedl, ac fod y gweithredoedd nerthol a wnaeth Duw erddynt yn gymaint er mwyn y cenedlaethau dyfodol ag oeddynt er mwyn y genedl ei hunan ar y pryd? Ymddengys fel pe buasai y bobl eu hunain yn deall hyn. Mor ofalus am addysg grefyddol eu plant ydynt fel cenedl hyd y dydd heddyw. Ar ol i'r plentyn fod dan ofal ei fam hyd nes cyrhaedd pum' mlwydd, cymer y tad ef i'w ofal arbenig i'w hyfforddi yn nyledswyddau bywyd yn nghyfraith Moses, ac yn holl ranau elfenol crefydd ei dadau; yna gelwir athraw i'r teulu, neu ynte anfonir y bachgen at ryw ddysgawdwr Iuddewig i orphen ei addysg, yn enwedig ei addysg grefyddol. At hyn, gofelir am gadw i fyny addoliad yn y teulu; gelwir ar fechgyn ieuainc iawn i gymeryd rhan gyhoeddus yn ngwasanaeth y synagog, ac ymhob modd argreffir arnynt y pwysigrwydd o lynu wrth grefydd eu tadau, a'i throsglwyddo yn ddilwgr i'w disgynyddion.

Ar bwys dysgeidiaeth y testyn am natur, moddion, a dyben addysg grefyddol ymysg yr Iuddewon, cynnygiaf air o gynghor heno gyda golwg ar waith a hawliau yr Ysgol Sabbothol, fel y cyhoeddwyd y Sabboth diweddaf.

## I.

### Gwaith yr Ysgol Sabbothol.

Rhodder y testyn yn ngenau y sefydliad gwerthfawr hwn am y tro; gadawer i'r Ysgol ddyweyd, "Gwrando fy nghyfraith, fy mhobl, &c.," a gweler mor briodol ydynt,

*Ymlaenaf*, os ystyriwn beth yw *defnydd yr addysg a gyfleir ganddi.* Ceir crynodeb o hono yn y ddau brif air sydd yn y seithfed adnod, sef "gweithredoedd" a "gorchymynion" Duw. Y Bibl yw testyn-lyfr yr Ysgol Sul, a sylwedd hwnw ydyw dadguddiad o orchymynion a hanes gweithredoedd Duw; y gorchymynion yn rheol bywyd, a'r gweithredoedd yn gymhellion i gydymffurfio â hi. Yn y naill ceir crynodeb o'r hyn a ofyna Duw oddiwrth ddyn; ac yn y llall hanes yr hyn a wnaeth ar ei ran. Mae swm yr addysg sydd yn ein meddiant ni yn awr yn llawer mwy na'r hyn a feddai y genedl gynt. Bibl bychan, neu yn hytrach, darn bychan o Fibl, ïe, darn bychan o'r Hen Destament, oedd mewn bod yn oes foreuol Israel; tra mae holl ysgrythyrau yr Hen Destament, y Pedair Efengyl, yr Actau, a'r Epistolau, a'r Testament Newydd oll, genym ni. Ond erys yn wir o hyd mai gorchymynion a gweithredoedd Duw ydyw sylwedd yr addysg sydd genym i'w chyfleu.

Yn *ail*, *ffurf atdynol* yr addysg hon. "Agoraf fy ngenau mewn diareb; traethaf ddammegion o'r cynfyd." Diareb, moeswers mewn cylch bychan, yn y ffurf fwyaf tarawgar i'r meddwl ac esmwyth i'r cof. Dammeg, y modd o egluro pethau pell a dyeithr trwy gyfrwng pethau agos ac adnabyddus. Neu fel y dywed Glanfryn y bardd:

"Eur-wythen mewn areitheg,—darluniad
Ar leni anianeg
O ras Duw, ddaw â gwers deg
I dy ymyl—yw dammeg."

Myn rhai esbonwyr nad dammegion yn ystyr briodol y gair a olygir, canys nid oes gymaint âg un ddammeg yn y salm, ond mai y meddwl yw siamplau, engreifftiau o'r cynfyd. Mae y salm yn llwythog o'r rhai hyny. Ystyr yr adnod, modd bynag, yw, fod addysg grefyddol yn cael ei gosod o flaen y meddwl ieuanc yn y ffurf fwyaf deniadol a gafaelgar. Diareb yw y modd mwyaf tarawiadol i ddysgu gorchymynion i blant, a siampl y modd mwyaf argyhoedd-

iadol i ddysgu hanes iddynt. I ddysgu gorchymynion Duw i'r plant, "agoraf fy ngenau mewn diareb;" ac i ddysgu ei weithredoedd, "traethaf ddammegion;" hyny yw, engreifftiau o'r cynfyd. Mae ysbryd y dull yma yn cael ei gario allan yn nghynllun addysg yr Ysgol Sul. Cyfaddasir addysg ar gyfer pob math o feddwl, gradd ac addfedrwydd. Hyn sydd wrth sail y dosbarthiad a wneir arni gyda phobl mewn oed, ac yn cyfrif am y drafferth a gymerir gyda mapiau a thafleni a cherddoriaeth, tuag at wneuthur addysg Ysgrythyrol yn ddealladwy a dyddorol i blant.

Yn *drydydd, awdurdod diammheuol gwirionedd* yr hyn a ddysgir. Craffwch ar yr hyn a ddywedir am y diarebion a'r dammegion o'r cynfyd a ddysgir i'r oes a ddêl yn y drydedd adnod: "Y rhai a glywsom ac a wybuom, ac a fynegodd ein tadau i ni." Iaith gref ydyw hon, i ddangos fod yr hyn a ddysgir yn wirionedd diffuant. "Yr hyn a glywsom," nid barddoniaeth, nid creadigaeth ein dychymyg, ydynt, eithr ffeithiau, y rhai a glywsom; "ac a wybuom," nid traddodiadau ammheus, heb eu chwilio a'u profi, eithr pethau y gwyddom eu bod yn wirionedd; "ac a fynegodd ein tadau i ni," personau rhy hysbys yn hanes y cynfyd i wneuthur camgymeriad, a rhy fawr eu cariad atom i'n camarwain trwy dwyll. Pa mor fer bynag yw y ddiareb, mae ei moeswers yn wirionedd; pa mor bell yn ol bynag yn y cynfyd yw yr ensamplau a draethir, maent yn ffeithiau diammheuol; nodweddir yr addysg a gyflëir âg awdurdod gwirionedd.

Digon yw eich hadgofio beth yw Llyfr yr Ysgol Sabbothol i'ch sicrhau fod ei haddysg hithau yn sylfaenedig ar yr awdurdod uchaf. Mae y gair Bibl yn cludo i'w ganlyn ar feddwl Cymry yn gyffredinol, ac yn neillduol ar feddyliau ein plant, y drychfeddwl o wirionedd. Gair y gwirionedd yw y Llyfr sanctaidd hwn, mewn ystyr arbenig. Ac y mae hyn yn elfen bwysig iawn mewn addysg grefyddol. Nid digon yw gwneuthur y wers yn

eglur a difyrus i'r plentyn, eithr rhaid cael rhywbeth i afael yn ei gydwybod ac i hawlio gwarogaeth ei reswm; a gwirionedd yn unig wna hyny. Gŵyr plentyn fod rhyw egwyddor o'i fewn sydd yn ei orfodi yn y fan i barchu gwirionedd, deall ei gynnwys neu beidio; os gellir ei berswadio o'i wirionedd, dyry hyny derfyn ar bob ymryson. Y gamp yw cyfuno y ddau—symledd ac awdurdod; trefnu y gwirionedd mewn symledd; gwisgo awdurdod Ddwyfol yr addysg hon mewn diwyg ddyddorol. Mae dyrysbynciau Euclid yn wirionedd, eithr heb fod yn ddifyr; ffugchwedlau Dickens yn ddifyr, ond ffug ydynt ac nid gwirionedd; eithr yn yr Ysgol Sul sydd yn cyflawni ei gwaith yn iawn, cyflëir gwirionedd dwfn mewn eglurdeb swynol, a gwybodaeth o Dduw mewn ffurf ddeniadol i bob math o feddwl.

Yn *bedwerydd, dull cyflead* yr addysg hon. "Tadau i'w plant; a phan gyfodent, y mynegent hwy i'w plant hwythau," ydyw trefn ei throsglwyddiad. Ac mor briodol yw hyn! Y tadau i'w plant—yr hen yn dysgu yr ieuainc; y rhai sydd mewn awdurdod yn gorchymyn y rhai sydd ddarostyngedig iddynt. Pwy sydd yn adnabod terfynau gwybodaeth a thueddion meddyliau plant gystal â'u tadau, ac felly mor alluog i gyfaddasu moddion addysg mor llwyddiannus at eu chwaeth ac yn ol eu hanghen? Pwy sydd yn caru y plant mor fawr ag y gwna eu tadau, ac am hyny mor debyg o ymdrafferthu cymaint â hwy? a phwy a fedd awdurdod dros y plant fel eu tadau, ac felly sydd mewn cystal mantais i gadw dysgyblaeth arnynt, a gwneyd manteision addysg yn effeithiol iddynt? Neb, yn ddiau. Y fath ydyw perthynas naturiol tad a phlentyn, yr awdurdod a dderbyniodd gan Dduw drosto, ei wybodaeth o hono, ei gariad tuag ato a'i ddyddordeb ynddo, fel na ddichon neb lenwi ei le, ymhob ystyr, yn nghyflead addysg grefyddol iddo. Ond y cyfnerthiad goreu iddo, a'r dirprwywr goreu yn ei le, os bydd raid hyny, ydyw athraw neu athrawes yr Ysgol Sul. Yr hen, neu o leiaf yr addfed,

yn dysgu yr ieuanc, y gwybodus yr anwybodus, y da, sefydlog ei gymeriad, yn cyfarwyddo yr ymofynydd dibrofiad, ydyw egwyddor cyfundrefn addysg yr Ysgol Sabbothol. Da fyddai pe gellid cael tadau yn athrawon i'w plant, a thybio fod y cymhwysderau anghenrheidiol yn eu meddiant; ond yn niffyg hyny llenwir y cylch yn effeithiol gan eraill. Os nad yw awdurdod a serch naturiol y tad gan yr athraw cyffredin, gwneir y diffygion hyny i fyny, a mwy yn aml achos, gan ragoriaeth dawn i gyfleu addysg, ac amgenach cymeriad moesol yr athraw da ar yr eiddo y tad naturiol.

Yn *bummed, amcan* addysg grefyddol. Adn. 7: "Fel y gosodent eu gobaith ar Dduw." Gwrthddrychau neillduol yr addysg hon yw yr ieuainc, a'r teimlad cryfaf yn y meddwl ieuanc yw gobaith. A welwch chwi y dorf plant anwyl sydd yn y sêt ganu, a'r ieuenctyd serchog sydd yn britho y gynnulleidfa? Y fath sirioldeb sydd ar eu gwedd, a'r fath fywyd sydd yn chwareu yn eu llygaid! Paham? Ymweithiad gobaith yw. Llywodraethir myfyrdod eu deall, gogwyddiad eu serchiadau, a phob gallu a theimlad a feddant, gan obaith; ac ennill hwnw ar y gwrthddrych iawn fyddai adfer eu holl natur i'w lle. Yn awr, amcan terfynol yr addysg a gyfrenid gynt gan yr hen genedl, ac a weinyddir yn awr gan yr Ysgol Sabbothol, ydyw gosod gobaith y bobl ieuainc ar Dduw, a thrwy hyny sicrhau eu hiachawdwriaeth dragywyddol. Ac yn hyn mae gan yr Ysgol Sul waith, nad oes yr un sefydliad arall a ddichon ei gyflawni mor effeithiol a hi. Y mae yr ysgol ddyddiol yn diwyllio meddyliau, yn dillynio moesau ein plant, ac yn eu parotoi i fod yn aelodau dymunol a gwasanaethgar o gymdeithas gyda golwg ar y byd hwn; eithr nid yw hi yn hòni cyfranu addysg sydd yn heddychu cydwybod, yn cyfnewid y galon, ac yn eu cymhwyso i droi yn y cylchoedd urddasol sydd yn aros pendefigion pobl Dduw yn y byd arall; ond amcenir gwneuthur hyny gan yr Ysgol Sul. Dyry y Bibl sanctaidd gyfarwyddyd yn y ffordd dragy-

wyddol i'r neb a'i darlleno, eithr nis gall wneuthur dim tuag at ddwyn dynion mewn oed na phobl ieuainc i'w ddarllen; eithr am yr Ysgol Sul, mae ei holl ofynion hi ar ei deiliaid yn cymhell, ïe yn eu gorfodi i chwilio yr Ysgrythyrau. Geilw y pulpud y dyrfa fawr ynghyd i egluro pynciau ac argymhell dyledswyddau yr efengyl i'r bobl fel cynnulleidfa, eithr nis gall ganiatâu i'r ymofynydd ofyn cwestiwn ar bwnc neu am eglurhâd pellach ar ddyledswydd; ïe, mwy na hyny, hawdd i'r difeddwl yw bod yn wibiol ei sylw, a'r anystyriol ddianc yn y dyrfa o afael y pregethwr; ond yn yr Ysgol Sabbothol ceir holi ac ateb a chynnal cydymddyddan rhydd yn y dosbarth ar unrhyw fater dan sylw; a rhoddir yn llaw yr athraw fantais nad yw gan y pregethwr, i sicrhau sylw a delio gyda chydwybod yr annychweledig. Dyna fe yn eich ymyl, cewch edrych yn ei lygad, gosod eich llaw ar ei ysgwydd, a gwasgu mater enaid adref at ei galon mewn ymliwiad personol, yn eich dosbarth yn yr Ysgol Sabbothol. Mewn gair, mae gan y sefydliad gwerthfawr hwn waith i'w gyflawni, a fydd heb ei wneyd byth ac yn dragywydd, os na wneir ef ganddi hi. Yr Arglwydd a'i cynnorthwyo i fod yn ffyddlawn i'w rhwymedigaeth.

Cyn gadael gwaith yr Ysgol, a dechre dadleu ei hawliau ar y gynnulleidfa, cynnygiaf sylw neu ddau gyda golwg ar y sefydliad ei hun, a gyfodant fel casgliadau rhesymegol oddiwrth yr hyn a ddywedwyd. Yn un peth, chwi a welwch beth yw *safle* a *chylch-wasanaeth* y sefydliad hwn. Nid yw i gymeryd lle, eithr i gynnorthwyo yr aelwyd a'r areithfa, ac i fod yn fath o ddolen gydiol rhyngddynt. Na ato Duw i'r teulu anghofio y gwaith mawr a berthyn i'r aelwyd. Yn hyn rhagorir arnom gan yr Ysgotiaid. Mewn ymarfer duwioldeb gartref, a chario allan y drychfeddwl o "Eglwys yn y tŷ," safant fel cenedl ar y blaen, a diau fod llawer a fynai hyny gyda'u cymeriad uchel fel crefyddwyr, ynghyd a lliosogrwydd y pregethwyr enwog a gyfodasant yn eu plith. Yn eu zel dros yr Ysgol, gofaled y Cymry

yn anghyfartal fel i beri fod darllenwyr gwael yn lladrata amser darllenwyr da. Dylai addysg y plant lleiaf gael ei weinyddu yn y modd mwyaf deniadol a gofalus. Manteisiol iawn yw cael ystafelloedd i'w dysgu hwynt yn fynteioedd wrthynt eu hunain, gwneuthur defnydd helaeth o'r cardiau mawiion ar y pared, a bywiogi y cwbl gyda llawer o ganu. Buddiol iawn fyddai dosbarth o athrawon o dan ofal yr athraw goreu yn yr Ysgol, i gael eu parotoi yn neillduol at y gorchwyl o ddysgu eraill, gyda'r deall eu bod at alwad arolygwr yr Ysgol, ar fynyd o rybudd. A goreu oll pe gwnelid sefyll arholiad yn ammod derbyniad i'r dosbarth hwnw. Tueddai at godi safon addysg yn ein hysgolion, ac arbedai beth amser a llawer o drafferth i'r arolygwr dan rai amgylchiadau. Goreu y gŵyr pob Ysgol am ei defnyddiau a'i gofynion ei hunan gydag achos fel yna; ond i bob ysgol, mae trefn a phrydlondeb, dysgyblaeth a bywiogrwydd, yn anhebgorol.

At y cwbl, y peth pwysicaf ydyw cael dynion cymhwys. Ar bersonau yn hytrach nag ar fesurau y dibyna llwyddiant yr Ysgol Sul. Gellir dyfeisio cynlluniau newyddion, sefydlu ymwelwyr, a rhoddi *treats* i'r plant, ond methiant fydd y cwbl, yn niffyg dynion gweithgar a duwiol ynglŷn â'r Ysgol. Ni waeth pa mor dda fyddo y pin yn llaw ysgrifenwr gwael; neu yr offeryn cerdd dan fysedd y chwareuwr anghelfydd; ni waeth pa mor ardderchog fyddo y pulpud i bregethwr gwael, neu pa mor berffaith fyddo cyfundrefniad yr Ysgol Sabbothol os na fydd ynddi bersonau cymhwys i gario allan y trefniadau a wneir. Mor bwysig yw cael arolygwr synwyrol, bywiog a chrefyddol; athrawon ac athrawesau deallus, llafurus a sefydlog; personau ymroddgar i barotoi ar gyfer anghen feddyliol eu dosbarth, doniol i fedru cyfleu ffrwyth eu hymchwiliadau yn effeithiol iddo, a duwiol i osod esiampl dda o'i flaen mewn pob gweithgarwch, prydlondeb, difrifwch, a phob gweithred dda arall. Addefaf fod eisieu ystafell a threfniant llyfrau ac arian, ond prif anghen yr Ysgol Sul, fel pob

rhan arall o waith yr Arglwydd, ydyw dynion a merched goleuedig a sanctaidd.

Y trydydd sylw, a'r olaf a chwanegaf ar hyn, sydd yn canlyn fel casgliad naturiol oddiwrth yr olwg a gafwyd ar waith yr Ysgol Sul, yw hyn: mae *gwir lwyddiant y sefydliad yn dibynu ar ei gymeriad moesol.* Amcan terfynol yr Ysgol, fel y gwelsom, ydyw achub eneidiau. Os collir golwg ar yr amcan hwn, derfydd hawl y sefydliad i barhâu mewn bodolaeth. Gwell i ysgol sydd wedi colli y nôd hwn farw na byw. Malldod a fydd i'r eglwys a melldith i'r byd. Moddion gras wedi colli ei amcan,—halen wedi colli ei flas—ydyw y peth mwyaf diwerth a ffiaidd sydd mewn bod.

Nis gall yr ysgol mwy na'r oedfa gyrhaedd yr amcan goruchel o achub eneidiau heb gadw i fyny gymeriad moesol da. Os dylai blaenor y rhestr a'r pregethwyr fod yn wŷr diargyhoedd a duwiol tuag at wneuthur yr oedfa a'r gyfeillach yn effeithiol i'w prif amcan, oni ddylai swyddogion yr Ysgol Sul fod felly hefyd am yr un rheswm? Ac y mae y difrifwch a'r defosiynedd crefyddol sydd yn gweddu i ranau eraill ein moddion gras yn addas i'r Ysgol hefyd. Priodol iawn yw dechreu a therfynu yr Ysgol mewn gweddi, a da fyddai pe ceid ychwaneg o gyfarfodydd o bwrpas i weddïo dros y sefydliad gwerthfawr hwn. Gorchwyl digon anhawdd ydyw cyfuno bywiogrwydd â difrifwch, yn enwedig ymhlith yr ieuenctyd yn ein hysgolion, ac nid bob amser y mae pobl mewn oed yn ddigon gofalus i gadw allan o'r dosbarth wag siarad bydol ac weithiau enllibaidd. Y feddyginiaeth yw cadw pawb ar lawn egni gwaith, ac o dan lywodraeth wastadol ysbryd gras a gweddi. Ceidw hyn dôn uchel yn ngweithrediadau yr Ysgol ar y Sabboth, diogela ymddygiad fel y gweddai i sancteiddrwydd yn nifyrion y *treats* a ddarperir ganddi i'w mwynhau ddiwrnod gwaith, a sicrhâ iddi gymeriad moesol a ddyry effeithiolrwydd i'w holl drefniadau fel moddion o ras ac iachawdwriaeth dragywyddol i eneidiau ei deiliaid. Mawr a phwys-

rhag esgeuluso addysg grefyddol yr aelwyd; oblegid ni fwriadwyd yr Ysgol erioed i wneyd gwaith yr aelwyd, ond i chwanegu ato, ei gadarnhau, a'i berffeithio. Ac nid yw yr Ysgol ychwaith i gymeryd lle na chyflawni gwaith y pulpud. Mae pregethu yn ordinhad ddwyfol, ac y mae y pulpud i sefyll tra y parhao eglwys Gristionogol ar y ddaear. Cwynir llawer yn ein gwlad ar hyn o bryd am fesur i sefydlu addysg ganolraddol yn Nghymru. Y mae addysg elfenol ar un llaw mewn cyflwr effeithiol; ac ar y llaw arall ceir moddion addysg uwchraddol o'r fath oreu. Y diffyg ydyw,—rhywbeth yn y canol rhyngddynt fel pont i groesi o'r naill i'r llall: moddion cyfaddas i ychwanegu at yr addysg a geir yn yr ysgolion elfenol ac i barotoi ysgolorion ar gyfer ein Prifysgolion. Dyma yn hollol, yn nghyfundrefn ein haddysg grefyddol, le yr Ysgol Sul—yn y canol rhwng yr aelwyd a'r areithfa. Moddion mawr ein gwlad ydyw, i gynnorthwyo yr aelwyd, ac i barotoi gwrandawyr i eistedd dan, a phregethwyr i sefyll yn y pulpud. Po fwyaf llewyrchus fyddo yr Ysgol, goreu oll fydd y gwrandawiad, ac uwchaf oll fydd safon gofynol y weinidogaeth. I ddylanwad yr Ysgol Sul y mae Cymru yn ddyledus am nodwedd uwchraddol ei phulpud ar yr eiddo ein cymydogion Seisonig.

Yn awr, fel y mae yr Ysgol i gynnorthwyo yr aelwyd a'r areithfa, ac yn ddolen gydiol rhyngddynt, mae mesur o bwysigrwydd y ddau yn gorphwys arni. Rhodder ystyriaeth ddyladwy i hyn.

Y mae yr Ysgol hefyd yn cymeryd ei lle yn y canol rhwng yr eglwys a'r byd. Sefydliad crefyddol ydyw, yr wyf yn addef; ond y mae yn wahanol yn hyn i'r gyfeillach eglwysig, sef ei bod yn agored i wrandawyr yn gystal ag i aelodau eglwysig. Ceir cyfarfod cymysg felly yn yr oedfa, eithr eistedd ynghyd mewn dystawrwydd goddefol a wnant yma; ac nid ydynt mewn cyfleusdra i ddyfod i gyffyrddiad ymosodol â'u gilydd mewn cydymddyddan a chydymdeimlad fel y maent mewn dosbarth yn yr Ysgol

Sul. Yno dygir anwybodaeth a goleuni, pechod a sancteiddrwydd, Crist a Belial, wyneb yn wyneb. Bob tro y cyferfydd yr Ysgol Sul, cymer brwydr lawlaw le rhwng y byd a'r eglwys; ac y mae yr eglwys yn ennill ac yn gwneyd y byd yn well, neu y byd yn ennill ac yn gwneuthur yr eglwys yn waeth.

*Gair arall*, a ddymunwn gyfeirio at garedigion yr Ysgol, yw y *pwysigrwydd iddi fabwysiadu y moddion mwyaf cyfleus a manteisiol* i'r gwaith sydd ganddi mewn llaw. Triawd ei hanhebgorion ydynt—lle, llywodraeth a dynion. Os bydd y lle yn anghyfleus, y llywodraeth yn ddiffygiol, neu brinder dynion cymhwys, mae yr Ysgol yn sicr o ddyoddef. Os gellir fforddio ystafell bwrpasol, nid manteisiol i'r ysgol na'r adeilad ydyw ei chynnal mewn capel. Nid yw pydew tanddaearol anghyfleus i fyned iddo o dan y capel yn dda, neu ystafell dywell, afiachus, gyda llawr pridd llaith neu geryg oerion dan draed, meinciau caledion heb gefnau iddynt na chlustogau arnynt, ac yn rhy drymion i'w trefnu na'u symud, yn fanteisiol i ffyniant y sefydliad. Pa fodd y gellir dysgwyl plant ieuainc, tyner, heb son am yr hen a'r nychlyd, i ystafell afrywiog ac afiachus, can oered a'r bedd yn y gauaf, ac mor daglyd â daeardŷ dwyreiniol yn misoedd cynhes yr haf. Trefner lle eang, parchus ac atdynol, gyda chyflawnder o oleuni ac awyr ynddo; eisteddleoedd esmwyth—cadeiriau y goreu o lawer—wedi eu trefnu yn dda; lle cyfleus i fyned iddo, fel y gallo gwan ieuanc, gwan hen a gwan afiach gyrchu yn hwylus iddo, a mwynhâu awr a hanner yn y dosbarth heb deimlo anghyfleusdra i draed na llygad nac ysgyfaint, drwy gydol yr amser. Pwy all brisio gwerth cyfleusderau felly sydd at wasanaeth yr Ysgol Sabbothol ynglŷn â'r lle hwn? Yn chwanegol at le cyfleus, anghenrheidiol yw cael llywodraeth effeithiol—amser a lle i bob peth, a phob peth yn ei le a'i amser. Y dosbarthiadau wedi eu rhanu yn ddoeth o ran rhif a chyrhaeddiadau y deiliaid, rhag iddynt fod yn rhy fawr i'r athrawon gadw llywodraeth drwyadl drostynt, nac

ig yw eich gwaith, garedigion yr Ysgol yn Horeb! Duw a'ch bendithio ynddo!

## II.

HAWLIAU YR YSGOL SABBOTHOL ar gydymdeimlad a chynnorthwy yr eglwys a'r gynnulleidfa.

Nid wyf yn achwyn llawer ar sefyllfa bresennol yr Ysgol. Dywedir ei bod yn fwy llewyrchus nag y bu er ys blynyddoedd, ac mor llewyrchus yn ol nifer yr aelodau eglwysig a berthyn i'r lle hwn âg unrhyw Ysgol yn y ddinas. Ond eto y mae lle i ddiwygiad. Mae cyfartaledd rhif yr Ysgol yn awr yn rhyw ychydig uwchlaw nifer ein haelodau eglwysig, ond y mae yn agos i'r drydedd ran o'r Ysgol yn blant islaw pymtheg oed, a thua'r bedwaredd ran yn wrandawyr dibroffes, fel nad yw hanner ein haelodau eglwysig yn mynychu yr Ysgol Sul. Gwyddom fod rhai o'n haelodau yn oedranus, ac eraill yn afiach; ond ar ol caniatâu pob peth felly, rhaid addef nad yw yr Ysgol yn derbyn cefnogaeth ddyladwy oddiar law aelodau eglwysig. Ni ddylai hyn fod, fy nghyfeillion.

A gaf fi ofyn paham y gwrthodwch gefnogi yr Ysgol? Ai gwarchod gartref yw eich dadl? Rhaid i rywun warchod, addefaf, ond ai tybed fod anghen am i gynnifer fod gartref ar brydnawn Sul? Yr ydych yma yn glau yn oedfa yr hwyr, ac y mae mwy o beryglon oddiwrth ladron yn nhywyllwch yr hwyr nag sydd ar awr oleu yr Ysgol yn y prydnawn. Ai prinder amser? Yr ydym yn gollwng y gynnulleidfa allan ar foreu Sul am hanner awr wedi un ar ddeg, ac ni chymer i'r pellaf o honoch fwy na hanner awr i fyned a d'od i'r capel, fel y mae yna ddwy awr dda at eich gwasanaeth rhwng yr oedfa foreuol a'r Ysgol am ddau o'r gloch. Dylai hyny eich galluogi i gyflawni pob gwaith cyfreithlawn ar y Sul. Pob peth sydd dros ben hyn o'r drwg y mae. Ai tybed nad oes yma ar y mwyaf

o goginio a thrafferthu ynghylch llawer o bethau ag y gellid gwneyd hebddynt ar y Sul? Holed y rhai y perthyn hyn iddynt eu hunain. Ai tramgwydd a gawsoch ryw dro sydd yn eich cadw o'r Ysgol? Tramgwydd, yn wir! Pa hawl sydd genych i adael i dramgwydd na dim arall eich troi o'r ffordd? Un cloff sydd yn gwneyd ynfyd beth felly. A oes rhywbeth yn nhrefn yr Ysgol sydd yn eich cadw draw? Os oes, paham na wnewch ef yn hysbys. Os oes modd ei ddiwygio, dywedwch y gair, a bydd swyddogion yr Ysgol yn ddiolchgar am eich awgrymiad. Ond pa ddewin a all ddeall eich meddwl, tra y byddwch fel hyn yn sefyll draw oddiwrthynt? Ai rhy falch ydych i ymgymysgu â'r werin? Na, nid wyf yn tybied. A oes yna rhyw reswm dros eich absennoldeb, ai ynte esgeulusdra sydd yn cyfrif am dano? Mewn naw achos o bob deg, ofnwyf mai dyma y ffaith. Buoch yn hoff o'r Ysgol dro yn ol, ond rywfodd, wrth golli ychydig droion, syrthiasoch i ddifaterwch ac anffyddlondeb. Goddefwch air y cynghor.

Yr wyf yn dadleu am eich cefnogaeth i'r Ysgol Sabbothol, yn *mlaenaf, er mwyn y tadau.* Ddeng mlynedd ar hugain yn ol yr oedd gofalon byd ac eglwys ar ysgwyddau eich tadau. Hwynt-hwy oedd dynion cyhoeddus y ddinas gyda materion lleol a chyffredinol—yn eistedd ar fainc-barn, yn llywodraethu achosion dinesig, ac yn hwylio yn ol y goleuni oedd ganddynt helyntion politicaidd y byd. Y tadau oedd y masnachwyr a'r crefftwyr, y meistriaid a'r gweithwyr. Ymdrechodd rhai o honynt gryn lawer i wella celfyddyd a masnach, adeiladau y ddinas ac ansawdd y wlad, fel y gallent drosglwyddo i ni yr hyn a dderbyniasant gan eu tadau hwy, mewn gwell cyflwr. Ac yn y pethau bydol hyn, yr ydym gydag awydd yn myned i mewn i'w llafur hwynt, ac yn gwneyd yn fawr o hono.

Ai oni lafuriodd ein tadau gyda phethau crefyddol hefyd? Do, ein tadau a lafuriasant. Pwy a blanodd yr eglwysi? Pwy a gododd yr hen addoldai? Pwy a sefydlodd yr

Ysgol Sul yma ar y cyntaf, ac a ofalodd am dani am flynyddau? Pwy, yn wir! Ein tadau hybarch ac anwyl. Erbyn hyn y mae ein tadau wedi eu galw i'r nefoedd, ond gadawsant y gwaith oedd ganddynt ar y ddaear ar eu holau i ni. Yn awr, a fydd i ni ofalu am faterion bydol a drosglwyddasant i ni gyda mwy o ffyddlondeb nag am yr Ysgol Sul oedd mor anwyl ganddynt? Beth pe gwyddai eich tad ymadawedig eich bod yn esgeuluso yr Ysgol Sul, a chwithau wedi arfer perthyn i'r dosbarth ag y cymerodd gymaint o drafferth i'w ffurfio. Oni fyddai eich ymddygiad yn ddigon a throi ei esgyrn yn ei fedd! Son am barch i'r tadau, gwyngalchu eu beddau, ac anwylo eu coffadwriaeth, tra yn esgeuluso gofalu am sefydliad mor werthfawr yn eu golwg ag ydyw yr Ysgol Sul! Yn mha le y mae cysondeb? Ystyriwch eich ffyrdd, gyfeillion, a goddefwch i mi ddadleu yn daer am eich cefnogaeth ddyladwy i'r Ysgol Sul er mwyn eich tadau.

Yn *ail*, yr wyf yn pledio gyda chwi dros yr Ysgol er *mwyn y plant*. "Fel y gwybyddai yr oes a ddêl, sef y plant a enid; a phan gyfodent, y mynegent hwy i'w plant hwythau." Fel y gwelsom, y mae cysylltiad arbenig rhwng y sefydliad hwn â'r plant. Er eu mwyn hwy cefnogwch yr Ysgol. "Y plant"—O ymadrodd tyner—cyforiog o arwyddocâd! Od aeth y tadau o'ch cof, y mae y plant ger bron eich llygaid ac yn argraffedig ar eich calon. Duw yn unig a ŵyr eich gofal am danynt a'ch pryder yn eu cylch. Palla iaith i osod allan faint eich cariad tuag atynt. "Y plant"—nid yw gweithio y dydd, gwylio y nos, hunanymwadu mewn dillad ac ymborth hyd angeu, pe b'ai raid, yn ormod genych er eu mwyn. "Y plant"—ni gallaf yngan y gair heb gyffroi teimladau dyfnaf eich calonau,—y maent i chwi fel eich enaid eich hun. "Y plant"—cyflwynasoch hwynt i'r Arglwydd y dydd eu ganed, ac i'r eglwys ar ol hyny y dydd y bedyddiwyd hwynt. Mawr yw eich gofal gartref i osod esiamplau da o'u blaen; am wahardd a cheryddu rhag i eiriau nac arferion drwg afael ynddynt,

ac yr ydych yn gofalu am eich bywyd i'w cadw rhag dylanwadau anghrefyddol a chymdeithion drwg, y gweddïau dirgelaidd a theuluol a offrymasoch drostynt, ac y mae cael y plant i'r nefoedd gyda chwi mor bwysig yn eich golwg a myned yno eich hunain. Ond cofiwch, ar ol y cwbl, y mae eich plant mewn anghen addysg nad oes yr un moddion ar wyneb y ddaear a all ei weinyddu ond yr Ysgol Sabbothol. Os oes genych wir ofal am danynt, danfonwch hwynt iddi; ïe, a deuwch yno gyda hwy. Bydd eich gofal am danynt ar yr heolydd i'w cadw rhag drwg, eich llygaid arnynt yn yr Ysgol i gynnorthwyo yr athraw, yn fwy o beth nag a feddyliasoch erioed. Ac y mae cyfiawnder cyffredin yn galw arnoch chwi ddyfod i'r Ysgol. "Car dy gymydog fel ti dy hun." Mae eraill yn dysgu eich plant chwi, oni ddylech chwithau ddysgu plant rhywun. Chwychwi sydd heb blant, de'wch i'r Ysgol i ofalu am blant amddifaid, a gollasant eu rhieni. Mae yma ddigon o waith i bawb ar addysg y plant anwyl hyn.

Peth ofnadwy yw magu plant, ac y mae ein cyfrifoldeb ni oll gyda golwg arnynt yn aruthrol yn wir. Yn 1483, mewn lle o'r enw Eisleben, ganwyd bachgen. Meddyliwch am dano. Cyn cyrhaedd ei hanner cant oed, fe fydd hwna wedi cyhoeddi cyfieithiad o'r holl Fibl i iaith ei genedl,—wedi hau goleuni yn awyrgylch ei wlad sydd yn gwreichioni hyd y dydd hwn,—wedi ysgwyd gallu ei wlad,—wedi gosod trosol mawr y Diwygiad Protestanaidd dan orsedd y Pab i'w hollti yn anghyweiriadwy, ac wedi rhyddhau y drydedd ran o Ewrop oddiwrth draha y grefydd Babaidd. Fe fydd miliynau o fodau anfarwol, oesoedd ar ol ei farwolaeth, yn dathlu ei goffadwriaeth ac yn bendithio y dydd y ganed ef, oblegid nid yw yn neb llai na Martin Luther —pendragon y Diwygiad Protestanaidd. Yn 1769, yn Ffrainc, gwnaeth bachgen arall ei ymddangosiad ar y ddaear, tyfodd i fyny, arweiniodd ei fyddinoedd fel pla dros ranau o'r ddaear; cochodd draed pigdyrau yr Aipht â gwaed oddiwrth ei gleddyf; ysgydwodd ei waewffon ddys-

glaer uwch ben Prydain, ac addawodd Gyfandir Ewrop yn etifeddiaeth iddo ei hun. Nid oedd dim yn rhy werthfawr ganddo i'w ddinystrio, na dynion yn fwy yn ei olwg na cheiliogod y rhedyn. Tywyllai yr awyr â mwg o'i flaen, llifai gwaed dynol yn afonydd ar ei ol, cyfodai fflamau dinasoedd ar dân, a gwaeddiadau gwledydd mewn dychryn o'i ddeutu, y ffordd y cerddai; gwnaeth filoedd ar filoedd o wragedd yn weddwon a phlant yn amddifad, ac y mae eneidiau yn uffern heddyw yn melldithio enw Napoleon Bonaparte. Ah! Dyna hi. Troes un bachgen allan yn Luther y diwygiwr, a'r bachgen arall yn Napoleon y gormeswr. Pa un o'r ddau fydd eich bachgen chwi? Y naill neu y llall ar raddfa fechan. Yr wyf yn pledio er mwyn y plant, cefnogwch yr Ysgol Sul—yr hon a all wneyd cymaint tuag at osod eu gobaith ar Dduw.

Bwriedais, yn y *trydydd* lle, ddadleu drosti *er mwyn crefydd Ysgrythyrol ar y ddaear*, ond y mae yr amser ar ben. Meddyliwch pe gellid diogelu y plant i Grist; yna hwy, pan gyfodent, ddiogelu eu plant hwythau; ac mor fuan y dygid yr holl fyd at draed y Gwaredwr. Dibyna hanes y ddaear i fesur pell ar effeithiolrwydd yr Ysgol Sul. Duw a'i bendithio. Amen.

---

## Y DIWEDDAR BARCH. RICHARD OWEN.

GAN

Y PARCH. DAVID OWEN JONES, BIRKENHEAD

DICHON mai fel "Richard Owen y Diwygiwr" y bydd i enw a choffadwriaeth y gŵr da uchod gael eu trosglwyddo gan y werin Gymreig i oesau sydd eto i dd'od.

Ganwyd y Parch. Richard Owen mewn tyddyn bychan yn mhlwyf Llangristiolus, Môn, yn y flwyddyn 1839. Yn yr ardal hon hefyd y dechreuodd bregethu pan yn ŵr ieuanc 23ain

mlwydd oed. Fel llawer eraill dywedir iddo gael cryn drafferth i ddringo i'r areithfa, a hyny, y mae yn ddiammeu, am nad oedd unrhyw argoelion ar y pryd o'r defnyddioldeb a'r poblogrwydd a nodweddasant ei weinidogaeth mewn blynyddoedd diweddarach. Ymhen amser cafodd ei dderbyn i Athrofa y Bala; ond nid yw yn ymddangos iddo tra yno wneyd nemawr o gynnydd gyda'i efrydiau, fel y cawn ef ymhen tua blwyddyn yn terfynu ei yrfa golegawl, gan ymsefydlu eilwaith yn Môn. Yn y cyfnod yma ymbriododd, a bu ef a'i briod am beth amser yn cadw masnachdŷ bychan yn Rhoscefnhir, gerllaw Pentraeth. Wedi hyny ymsefydlodd am gyfnod yn Llundain, lle yr ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth. Ar ol hyn bu yn trigianu yn olynol yn Penmaenmawr, Dinbych, ac Aberystwyth. Bu farw yn dra disymwth tra ar daith gyda neges fawr ei fywyd yn ei Sir enedigol; a daeth tyrfa fawr a galarus o wir barch i'w goffadwriaeth i ddodi ei weddillion i orphwys yn mynwent dawel Llangristiolus.

Dyn bychan, eiddil o gorffolaeth, oedd y Parch. Richard Owen, gyda gwynebpryd gwelw, pruddglwyfus, a sobr, a'r gwelwder yn ymddangos yn fwy yn ymyl y cnwd byr o flew duon a orchuddient ei gernau a'i ên yn ogystal a'i wefus uchaf. Du hefyd ydoedd lliw naturiol ei wallt; ond os ydym yn cofio yn iawn, brithid ef yma ac acw gan ambell i flewyn gwyn. Tueddai ei aeliau at fod yn drymion, a llechai o danynt ddau lygad o liw tywyll a ymddangosent ar y cyntaf yn bruddaidd a llonydd, ond pan gynhyrfid y pregethwr tua diwedd y bregeth a luchient allan fellt a thân. Nid oedd dim yn y talcen a'r trwyn oedd yn arwyddo unrhyw fawredd deallol; ond gellid tybio hefyd fod eu perchenog yn ŵr o ddifrifoldeb a phenderfyniad, ac yn feddiannol ar fesur o annibyniaeth meddwl.

Cofiwn yn dda yr olwg gyntaf a gawsom arno. Yr oedd yn y pulpud ar y pryd, a'r Beibl yn agored o'i flaen yn chwilio am ei destyn, tra yr ydoedd y gynnulleidfa liosog ar eu traed yn canu yr emyn cyn y bregeth. Y teimlad cyntaf a'n meddiannodd wrth edrych arno ydoedd difrifoldeb mawr. Ymddangosai fel dyn ag yr oedd barn a thragwyddoldeb yn sylweddau ofnadwy i'w feddwl. Dyna'r canu drosodd; ac y mae yntau yn darllen ei destyn, "Adda, pa le yr wyt ti?" Dechreuai lefaru yn isel, araf, ac weithiau yn betrusol, a hyny mewn iaith wladaidd a hen ffasiwn, gan gynanu ei eiriau yn arddull trig-

olion gwlad Môn. Nid oedd genym unrhyw wrthwynebiad i hyn, oblegid nid oes dim yn gasach gan ein calon na chlywed yn y pulpud frodorion o Fôn, Arfon, neu Ddinbych, yn merthyru yr hen Gymraeg bur gyda rhyw lediaith gelfyddydol a hanner-Seisnigaidd. Yn y modd yma elai y pregethwr ymlaen trwy ei ragymadrodd, gan gadw ei lygaid yn syn a sefydlog ar y Bibl, ac heb symud nemawr ddim ar ei gorff oddigerth taflu allan ychydig ar ei law ddehau yn awr ac eilwaith. Dechreuai drefnu ei sylwadau trwy gyfeirio y cwestiwn, "Pa le yr wyt ti?" at wahanol ddosbarthiadau ei gynnulleidfa—y *crefyddwr difraw*—y *gwrthgiliwr*—yr *hen wrandawr*, a chymeriadau eraill. Ond er yn ymddyddan â'i wrandawyr, gan ateb eu hesgusodion ac apelio at eu cydwybodau, eto parhai i gadw ei olwg ar y Bibl. Gwnai rai sylwadau miniog, a phryd arall ceid ganddo ambell ddywediad difrifol-ddigrif a gynnyrchai wên ar y wyneb, ac ar yr un pryd a dynai ddeigryn o'r llygad. Gyda hyn gwelid arwyddion fod y gwirioneddau a draethid yn cymeryd gafael ddyfnach yn ysbryd y pregethwr. Y mae fel pe yn anesmwyth yn symud dail y Bibl yn ol ac ymlaen; y mae ei lais yn dechre tyneru, ac y mae yn d'od i lefaru yn fwy rhwydd ac effeithiol. Y mae'r gynnulleidfa bellach yn ei law. Y mae yn adrodd rhyw hanesyn tarawgar, ac yn ei gymhwyso at ei wrandawyr mewn tonyddiaeth leddf, nes y mae'r bobl yn teimlo y rhyddhad mwyaf mewn tywallt dagrau. Yr oedd yn iechyd i'n calon i weled ambell i frawd sych a beirniadol o amgylch y pulpud wedi ei orchfygu. Ond y mae teimladau y pregethwr yn angerddoli. Y mae'n gwahodd y rhai gwaethaf at y Ceidwad. Cyfeiriai at yr "hen leidr" yn d'od ato, â "chortyn damnedigaeth am ei wddf;" "Mair Magdalen â'r cortyn am ei gwddf, a saith o gythreuliaid yn tynu ynddo." Gyda hyn y mae'r Bibl yn cael ei gau, a llygaid y pregethwr yn cael eu codi mewn modd cynhyrfus i wyneb y gynnulleidfa. Y mae ei ddwylaw wedi eu dyrchafu, a chyda bloedd arw, ond trydanol, y mae'n cymhell ei wrandawyr i blygu i'r efengyl. Am ychydig eiliadau y mae'r cyffro yn y gynnulleidfa yn ofnadwy. Dyna rywun o dan y *gallery* yn gwaeddi am ei fywyd, a Diolch ac Amen i'w clywed yn codi o gyfeiriadau eraill. Erbyn hyn y mae'r pregethwr wedi dyweyd Amen, ac yn offrymu gweddi fer, a chyda hyny yn galw y *society* i aros yn ol. Os byddai dychweledigion, fel y byddai yn aml, cymerid eu henwau i lawr, ac ymofynid i ba gynnulleidfa y perthynent.

Diammeu yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf na chododd yr un pregethwr yn Nghymru a chymaint o gyrchu ar ei ol a'r diweddar Richard Owen. Naturiol ydyw gofyn yn ngwyneb hyn, Beth oedd yn cyfrif am ei boblogrwydd mawr a'i lwyddiant anarferol? Yn ddiau, yn mlaenaf ac yn benaf, am ei fod yn wr ag yr oedd *Duw* mewn modd arbenig gydag ef. Ond ni olygir wrth hyn nad oedd yn perthyn i'r *dyn* gymhwysderau pwysig ar gyfer ei waith. Mae'n wir nad oedd priodoleddau uwchaf meddwl yn eiddo iddo. Nid oedd yn feirniad nac yn athronydd, yn ysgolhaig nac yn dduwinydd. Fe allai mai y gallu meddyliol amlycaf ynddo ydoedd ei *ddychymyg*. Dichon nad oedd yn wastad o dan lywodraeth chwaeth a barn; ond fe gofir yn hir gan y werin Gymreig am rai darluniadau tarawgar a bywiog o'i eiddo yn ei bregeth ar y "Mab afradlon," a'r un ar "Yr Arglwydd yw fy Mugail." *Traddodai* hefyd mewn modd *naturiol* iddo ei hun. Nid dynwaredwr ydoedd. Yr oedd ei frawddegau byrion a'i draddodiad araf yn fwy cymhwys na'r un arddull arall i gyfateb i faintioli a nerth ei organau llafar ef. Er nad oedd ei lais yn nodedig o dda yn y cychwyn, eto wedi i'r gwirionedd a draddodai dd'od i gyffwrdd â'i deimlad, ac i'w bibellau gwynt gynhesu ac agor, byddai ei lais hefyd yn tyneru, ac ar adegau yn hynod beraidd a thoddedig. Yr oedd rhyw *nervousness* ynddo hefyd oedd yn cario gwefr a thân trwy ei lais a'i ysgogiadau, yn arbenig tua'r diwedd, fyddai yn creu cyffro yn y gynnulleidfa. Buom yn meddwl hefyd fod y sydynrwydd gyda pha un y dyrchafai ei lygaid tua'r terfyn ar ol bod cyhyd yn syllu ar y Bibl yn d'od yn fantais iddo. Yr oedd yn weddïwr mawr, a mynai i'r eglwysi yr ymwelai â hwynt weddïo. Diau mai yn hyn yr oedd ei nerth mwyaf. Gorchfygai gyda Duw, ac yna äi allan i orchfygu gyda dynion. Deuai o'r mynydd fel Moses, a phelydrau y gogoniant dwyfol yn llewyrchu ar ei wedd. Ond y mae ei lais wedi dystewi. Y mae cyfrifoldeb Cymru erbyn dydd y farn yn ngwyneb ei weinidogaeth yn aruthrol. "Efe oedd ganwyll yn llosgi ac yn goleuo, a chwithau oeddych ewyllysgar i orfoleddu dros amser yn ei oleuni ef." Ac wrth oleuo i eraill llosgodd i'r *socket*.

# XL.

## SIOMEDIGAETHAU BYWYD.

"*Yna y dywedwn, Byddaf farw yn fy nyth; a byddaf mor aml fy nyddiau â'r tywod; fy ngwreiddyn oedd yn ymdaenu wrth y dyfroedd; a'r gwlith a arosodd ar hyd nos ar fy mrig; fy ngogoniant oedd îr ynof fi; a'm bwa a adnewyddai yn fy llaw.*"—JOB XXIX. 18—20.

"*Pan edrychais am ddaioni, drygfyd a ddaeth; pan ddysgwyliais am oleuni, tywyllwch a ddaeth; fy ymysgaroedd a ferwasant, ac ni orphwysasant; dyddiau cystudd a'm rhagflaenasant, cerddais yn alarus heb yr haul; codais a gwaeddais yn y gynnulleidfa. Yr ydwyf yn frawd i'r dreigiau, ac yn gyfaill i gywion yr estrys. Fy nghroen a dduodd am danaf, a'm hesgyrn a losgasant gan wres. Aeth fy nhelyn hefyd yn alar, a'm horgan fel llais rhai yn wylo.*"—JOB XXX. 26—31.

YN y paragraph cyntaf a ddarllenwyd ceir desgrifiad o sefyllfa gysurus a rhagolygon addawol Job yn adeg ei iechyd a'i lwyddiant; yn y diweddaf dyry Job adroddiad o'i deimladau siomedig pan oddiweddwyd ef gan ddyddiau cystudd a drygfyd; a rhwng y ddau cyfodir i'r wyneb yr elfen hono sydd yn cymeryd lle mor amlwg a mynych yn nhrallodion bywyd, sef y siomedigaethau a brofir ar y ddaear. Yr oedd ef unwaith, fel y mae llawer o honoch chwi heddyw, yn glyd ei amgylchiadau, yn hoew ei iechyd, ac yn addawol ei ragolygon. Gwrandewch arno yn adrodd ei sefyllfa ac yn desgrifio ei obeithion. "Yna"—pan oeddwn yn nyddiau fy ieuenctyd a dirgelwch Duw ar fy mhabell; pan oedd yr Hollalluog eto gyda mi, a'm plant o'm hamgylch; pan olchwn fy ngham-

rau âg ymenyn, a phan dywalltai y graig i mi afonydd o olew"—hyny ydyw, yn amser fy llwyddiant a'm hawddfyd, yna,—yr adeg hono, "y dywedwn," yr addawn i mi fy hun ddyfodol maith a llwyddiannus,—"byddaf farw yn fy nyth, a byddaf mor aml fy nyddiau a'r tywod." Addawai hir ddyddiau iddo ei hun. Ystyriai Job, fel y gwelir oddiwrth fraich gyntaf yr adnod, y byddai raid iddo farw; ond dysgwyliai na chymerai hyny le am amser maith. "A byddaf mor aml fy nyddiau a'r tywod." Yn lle y gair "tywod," dodwyd ar ymyl dalen y cyfieithiad diwygiedig, yr enw *Phaenix.* A dywedir fod y sylweddair Hebraeg yn caniatâu y naill ddarlleniad neu y llall. Iod bychan sydd yn nodi y gwahaniaeth rhyngddynt yn yr ysgriflyfrau gwreiddiol, ac y mae y naill fel y llall yn cyfleu ffugyr grymus iawn i ddynodi hirhoedledd. Aderyn dychymygol oedd y *Phaenix*, ag y dywedid oedd yn byw fil o flynyddoedd; ac yn niwedd yr oes faith hono, oedd âg ysgydwad ei adenydd yn rhoddi ei nyth ar dân, ac o wy yn ei ludw fod un arall yn codi yn ei le am gyfnod arall o fil o flynyddoedd. Neu os cymerir y darlleniad fel y mae amlder dyddiau ydyw y meddwl fyth, a hyny mewn ffugyr mwy chwaethus a llawer mwy grymus na'r llall. Beth sydd mor aml a'r tywod, neu mor hirhoedlog a *phaenix?* Ac eto addawai Job iddo ei hun oes mor faith, fel nad oedd ond hirhoedledd y *phaenix* neu amlder y tywod yn ddigonol i'w gosod allan. Noda Job ei sail dros ddysgwyl amlder dyddiau;—"a'm gogoniant oedd îr ynof," mewn cyfeiriad ond odid at ei iechyd a'i yni corfforol. Nid gogoniant allanol a olygai, eithr rhywbeth ynddo, a rhywbeth ynddo oedd yn sail hyder am hirhoedledd. Serch ei fod weithian yn addfed mewn dyddiau, ac wedi trethu ei natur â phwysau llafur ac amrywiaeth gofalon, teimlai fod nerth ac iechyd yn gorlenwi ei gorff, ac fod ei ogoniant yn îr ynddo.

Addawai Job iddo ei hunan hefyd gysur a llwyddiant bydol hyd ddydd ei farwolaeth. "Byddaf farw yn fy

nyth"—yn nghanol llawnder, mewn clydwch, yn y mwynhad o bob cysur teuluol. A dywed y rheswm paham y dysgwyliai hyny. "Fy ngwreiddyn," gwreiddyn ei lwyddiant a'i gysur bydol; ac yr oedd gan lwyddiant Job wreiddyn iachus ac iraidd; nid castell yn yr awyr oedd ei lwyddiant na thŷ ar y tywod, heb fodolaeth ond mewn dychymyg, nac wedi ei ennill yn anghyfiawn. Ac yr oedd ei lwyddiant yn cynnyddu yn barhaus ac yn arwyddo parhau i gynnyddu. "Fy ngwreiddyn oedd yn ymdaenu wrth y dyfroedd; a'r gwlith a arosodd ar hyd nos ar fy mrig." Edrychai ar ei lwyddiant fel pren planedig ar lan afonydd dyfroedd; ei wreiddyn wrth gael ei ddyfrhau yn tyfu, yn ymlïosogi,—"yn ymdaenu wrth y dyfroedd." Ac os oedd gwres y dydd yn ei brofi, arosai gwlith y nos ar ei frig i'w gadw yn iraidd a gwyrdd; yr oedd dwfr y ddaear a gwlith y nefoedd fel mewn cyfammod â'u gilydd i'w gadw yn fyw. Ac nid yn unig yr oedd natur ei lwyddiant a ffurf ei feddiannau yn sicr argoeli parhad a chynnydd dyfodol iddo, eithr teimlai hefyd fod ganddo allu byth-gynnyddol i amddiffyn ei eiddo rhag rhuthrgyrchoedd allanol. "Fy mwa a adnewyddai yn fy llaw." Mewn gwlad newydd, egwyddor bywyd yw "y trechaf treisied, a gwaedded y gwan," os ca egwyl i waeddi, neu rhaid marw heb gymaint a gwaeddi; fel y mae yn ofynol cael bwa i gadw, yn gystal a llwyarn i gasglu da y byd hwn. A gwlad lled newydd oedd yr holl fyd yn nyddiau Job a'i gymydogion, fel y gwelwyd ar ol hyn, yn llawn rhaib am ei eiddo. Ond fel pe y dywedasai, "Mae genyf saith o feibion mor rymus a dewr ag y bu eu tad erioed, torf o weision yn bugeilio y defaid, yn gofalu am y camelod, ac yn canlyn y gweddoedd ychain yn fy meddiant yn awr, fel y gallwn alw byddin allan, pe bae raid, i amddiffyn yr eiddo sydd dan fy ngofal, rhag pob math o yspeilwyr,—fy mwa a adnewyddai yn fy llaw." Yn ngwyneb hyn oll, oedd mor ffafriol iddo, yr unig gasgliad rhesymol y gallai Job y pryd hyny ddyfod iddo ydoedd

y caffai amlder dyddiau, a marw yn y diwedd dan yr amgylchiadau mwyaf cysurus. Ond druan o Job! Buan y cafodd brofi fel llawer un ar ei ol, ar ol dysgwyl pethau gwych i ddyfod, mai croes i hyny maent yn d'od. Yn lle parhad o iechyd a hoenusrwydd, dyddiau cystudd a'i rhagflaenasant; goddiweddwyd ef gan adwyth blin, berwai ei ymysgaroedd heb orphwyso, duai ei groen am dano, llosgai ei esgyrn gan wres, a'r tebygolrwydd yw ei fod yn ofni yn lle amlder dyddiau fod bedd cynamserol yn agor wrth ei draed. Ac yn lle marw yn ei nyth, yn nghanol llawnder, ac yn mynwes ei deulu, cyfododd tymhestl yn ei amgylchiadau, chwythwyd ei nyth yn chwilfriw, a chodwyd pren ei lwyddiant, ar yr hwn yr adeiladasai ei nyth, o'r gwraidd. Gwyddoch yr hanes. Diflanodd ei gyfoeth, llofruddiwyd ei weision, lladdwyd ei blant, a chollodd y cwbl. Effeithiodd y brofedigaeth ar ei deimlad; cerddai yn alarus heb yr haul, yn ol rhai esbonwyr, du-odd ac nid gan yr haul, mewn cyfeiriad at effaith ei afiechyd ar ei groen; yn ol eraill, cerddai yn alarus mewn unigedd, yn y cysgod, gan fod ymddangos mewn cynnull-eidfa yn peri iddo godi a gwaeddi. Gŵyr rhai o honoch beth yw pruddglwyfedd a barai fod dyfod i blith pobl yn boen i chwi. Cwynai Job yn ei drallodion fel pe buasai frawd i'r dreigiau, a theimlai amddifadrwydd fel pe buasai gyfaill i gywion yr estrys. Siomwyd ef ymhob peth daearol, a throes ei delyn yn alar, a'i organ fel llais rhai yn wylo. Ei brofiad ydoedd, "Pan edrychais am ddaioni, drygfyd a ddaeth; pan ddysgwyliais am oleuni, tywyllwch a ddaeth." A dyma brofiad miloedd ar ei ol. Byd siomedig yw hwn; ar yr olwyn y mae pawb, ac y mae hono yn troi.

"Dysgwyl pethau gwych i ddyfod;
Croes i hyny maent yn d'od;
Dysgwyl fory daw gorfoledd,
Fory y tristwch mwya' erioed.

Y mae hyn yn ffaith, ac yn ffaith amlwg iawn yn mywyd pob un o honom. Haeddai ystyriaeth ddifrifol. A gawn dreulio yr oedfa uwch ben

SIOMEDIGAETHAU BYWYD?

## I.

Ystyriwn eu Ffurfiau Amrywiol.

Ofer yw dychymygu am eu nodi bob yn un ac un, gan mor lïosog ydynt. Creadur rhyfedd yw dyn; nid oes dau o honom yn hollol yr un fath. Ac fel y mae gwahaniaeth rhwng pawb o honom a'n gilydd, felly y mae gwahaniaeth rhwng y siomedigaethau a brofir genym, o ran eu ffurf, fel nad oes obaith cymaint a'u nodi oll bob yn un ac un. Gwell ffordd i'w trafod nag ymgynnyg ar hyny ydyw chwilio am ryw egwyddor lydan sydd danynt, yn ol yr hon y gellir gosod trefn a dosbarth arnynt. Mae llu mawr o siomedigaethau bywyd i'w cael dan y penawd canlynol:—

1. *Methiant i gyrhaedd amcan.*

Gosodwyd nod o flaen y meddwl, hwyrach yn gynnar mewn bywyd; mawr ymdrechir i'w gyrhaedd; gwneir pob peth yn aberth er mwyn sicrhau hyny; cedwir llygad y meddwl arno; bob yn ychydig dynesir tuag ato, eithr pan ar fin gosod llaw arno, cilia y byrddau dan ein traed, a chwympir yn siomedig i'r llawr, ac weithiau i'r bedd, gan ddywedyd, "Pan edrychais am ddaioni, drygfyd a ddaeth; pan ddysgwyliais am oleuni, tywyllwch a ddaeth." Profwyd siomedigaeth chwerw, ond y cyfrif am dani ydoedd methiant i gyrhaedd amcan neillduol. I gadw at engraffau y testyn.

*Yn mlaenaf,* Mae rhai yn profi y rhywogaeth yma o siomedigaeth gyda golwg ar *amlder eu dyddiau ar y ddaear.* Y mae awydd cryf yn mhawb am fwynhau hirhoedledd. Argoel o wall synwyr yr ystyrir diffyg awydd am fyw. Planwyd cariad at fywyd ynom gan Awdwr ein bodaeth i ddybenion caredig. Ac rywfodd oddiar yr awydd angerddol

hwn am fyw, cyfyd dysgwyliad yn meddwl pob un o honom y ceir byw i fyned yn hen. Seilia y cryf ei ddysgwyliad am amlder dyddiau ar y ffaith ei fod yn gryf. "Edrychwch arnaf," meddai, "yn naturiol gadarn fy nghyfansoddiad, ac yn cryfhau wrth heneiddio; lleda fy ysgwyddau dan bwys beichiau bywyd, a churir ychwaneg a wrid iechyd i'm gruddiau gan dywydd garw pob gauaf o aiff dros fy mhen. Dynion cryfion a hirhoedlog oedd fy hynafiaid, ac yr wyf finnau fel hwythau yn gryf, a phaham nad fel hwythau yn hirhoedlog?" Ydyw, y mae y dyn yna yn dysgwyl byw i fyned yn hen, oblegid ei fod yn gryf ac iach. Ar ochr arall y capel, mae person nychlyd a gwyneb llwyd, cul ei ysgwyddau a phoenus ei beswch, ac eto y mae ganddo yntau awydd, os nad dysgwyliad hefyd, am amlder dyddiau, serch ei fod yn nychlyd, os nad am ei fod yn nychlyd. "Ië, hawdd gan y dynion cryfion, iachus hyn, siarad am eu nerth a'u hirhoedledd, a dichon y caent amlder dyddiau pe yn hanner mor ofalus ag wyf fi; ond maent mor ddibris a rhyfygus yn rhuthro i bob perygl, a thrwy fwyta yn ddiystyr o ddeddfau iechyd, ac yfed yn anghymedrol, colli cwsg a gorlafurio a baeddu, nid ydyw llawer o honynt yn byw hanner eu dyddiau. Pa sawl llanc gwridgoch a gladdwyd er ys pan wyf fi yn nychu? ac wrth gael fy ngorfodi gan fy nychdod i gadw deddfau iechyd ac i ofalu am weithio wrth bwys ac ymborthi wrth linyn, yr wyf yn debyg o weled claddu llawer eto o'r bodau dibris hyn." Ha! ydyw y mae yntau yn addaw amlder dyddiau iddo ei hun, bron na ddywedwn am ei fod yn nychlyd a gwan. Ac yr ydym oll yn gyffelyb yn hyn, gan nad beth yw sefyllfa ein iechyd a mesur ein nerth corfforol.

Ond ah! tra y mae pawb yn edrych am y daioni hwn, fel y tybient, llawer yw y rhai ac a siomir a ddywedant, "drygfyd a ddaeth." Beth yw cyfartaledd einioes? Flynyddau yn ol, nid ydoedd ond tair ar ddeg ar hugain; ac os ydyw ychydig yn well yn awr, nid yw y gwahaniaeth yn werth

son am dano. Ewch i fyfyrio ymhlith y beddau, a chraffwch ar yr oedran sydd yn doredig ar y beddfeini. Mor lleied a gyrhaeddasant driugain a deg, heb son am bedwar ugain mlynedd! Y fath dorf a fuont feirw islaw deugain oed, ac felly a siomwyd am gael eu dyddiau mor aml a'r tywod. Dan yr un ddeddf, fy nghyfeillion, yr ydym ninnau. Pwy o honom ni a wêl bedwar ugain, ïe, driugain neu hanner cant oed. Ië, pwy? Cleddir rhai sydd yma heddyw cyn gweled deg haf ar hugain. Ni fynwn er dim lacio gafael neb o honoch mewn bywyd na'i ddyledswyddau, ond gochelwch adael dim o bwys heb ei sicrhau gyda'r dysgwyliad y ceir amlder dyddiau. Byr a brau yw einioes dyn. Pa sawl dynes heinyf a dorwyd ymaith fel Rahel pan oedd mwyaf o'i heisieu i fagu Benjamin! A pha sawl dyn cadarn, fel rhai a adwaenem yn dda, oedd â'u cynlluniau newydd eu tynu, a ddaliwyd gan angeu ac a fuont feirw yn bobl siomedig, gan ddywedyd mewn effaith, "Pan edrychais am ddaioni, drygfyd a ddaeth."

*Yn ail*, Siomir eraill, gyda golwg ar *llwyddiant bydol.* "Fy nyth," ebai Job. Y fath boen a gymerir gan ddynion i geisio adeiladu eu nythod! Bore godi, myned yn hwyr i gysgu, bwyta bara gofidiau, hanner lladd eu hunain â gofalon a phryderon a helbulon o bob math; esgeuluso eu teuluoedd, cilgwthio eu cymydogion, rhuthro i'r gwddf âg anhawsderau; teithio môr a thir, trwy bob tywydd, ac ar bob awr o'r nos; tori darn o ddydd yr Arglwydd drwy fod yn hwyr nos Sadwrn ac yn fore ddydd Llun, os nad yspeilio oriau o'i ganol i ysgrifenu llythyrau masnachol, a gorweddian yn y tŷ yn lle bod yn yr Ysgol Sul; a'r cwbl er mwyn casglu brigyn oddiyma a chlai oddidraw i adeiladu y nyth ag yr addawant iddynt eu hunain gael marw ynddo mewn henaint teg. Ac er nad mewn gafael, mae llwyddiant yn y golwg; ac os nad yn y golwg, myn y dyn fod yna wreiddyn i'w amgylchiadau, ac fod hwnw yn ymdaenu wrth y dyfroedd. Os edliwir iddo fod y nos yn hir, efe a etyb fod gwlith yn aros ar ei frig ar hyd y nos;

cystal a dyweyd fod parotoadau llwyddiant sicr yn gweithio o'r golwg, ac mai pwnc o amser byr bellach fydd i'w gynnydd ddyfod yn eglur i bawb. Y mae y dyn ar lwyddo,—ar orphen adeiladu ei nyth—ar hyd y blynyddoedd. Ni ddychymygodd ei galon am farw yn dlawd. Bu ei lwyddiant sicr yn dra thebygol fwy nag unwaith, a thybiai ei gymydogion craffaf fod y gamp wedi ei chyrhaedd ganddo. Ond bob tro pan fyddai ei law ar gyrhaedd y nôd, ysgogai yr olwyn i'w erbyn; dygwyddai colled neu ryw anffawd a'i taflai yn ol; ac yn lle marw yn nghanol llawnder a chysur fel yr addawodd ganwaith iddo ei hun, chwalwyd ei nyth i'r pedwar gwynt, a gorphenodd ei fywyd siomedig yn ngweithdŷ yr Undeb; a'r gair olaf a ynganodd yn groew ydoedd hwn, "Pan edrychais am ddaioni, drygfyd a ddaeth."

Yn *drydydd*, Cyfarfyddir â'r rhywogaeth yma o siomedigaeth gyda golwg ar *gysuron teuluol*. Y mae i'r gair ffugyro "nyth" yma, ei ystyr ddyfnach, anwylach, na llwyddiant bydol. Dynoda gysuron y cylch teuluol—*inside lining* nyth bywyd. Sonir yma hefyd am "delyn" ac "organ;"—addawai Job a llawer un ar ei ol, lawenydd a chân ar ei aelwyd lawn—peroriaeth yn ei nyth.

Cymeriad hynod oedd Job. Ychydig iawn sydd genym o'i hanes, ond a gasglwn oddiwrth ei lyfr. Dichon mai dyn hunan-wneuthuredig *(self-made man)* ydoedd, ac nad oedd ei dad ond tlawd ac isel-fri. Un peth ffafriol i'r dyb hon yw y ffaith nad yw enw ei dad na neb o'i achau ar lawr. Tuedd y natur ddynol yn gyffredin yw "hel achau" gwerth bod yn disgyn o honynt. Mor ofalus ambell Gymro tawel i adgofio pawb, ei fod yn disgyn o un o bymtheg llwyth Gwynedd. Ac os bydd tad enwog ac yn ŵr mawr, gan ddyn ieuanc, ni fydd pall arno i hysbysu pawb mab i bwy ydyw. Rhoddir pwys mawr ar hyn mewn bywgraffiaeth Ysgrythyrol. Eliseus fab Saphat; Josua mab Nun; Dafydd mab Jesse, &c. Ac am Solomon, er cymaint ei enwogrwydd, y dywedir, "mab Dafydd."

Ond pwy o'r plant yma all ddyweyd, Pwy oedd tad Job? Nid oes air o son am dano. Dichon mai bugail defaid ydoedd, heb gyfoeth na bri, nac enw gwerth ei gofnodi yn hanes gŵr mor fawr a'i fab Job. Pa fodd y cododd Job yn y byd ni ddywedir. Amlwg yw, fod ei godiad yn fawr a rhyfedd—"a dirgelwch Duw ar fy mhabell," meddai. Ymddengys fod ei lwyddiant yn syndod iddo ef ei hunan. Os codiad mawr, dechreuad isel, ond odid. Pan yn fachgen tlawd tynai sylw. Yr ydoedd yn llawn o athrylith, ac yn llanc bywiog ei feddwl a phybyr ei gorff. Hwyrach mai un o gaethfeistriaid ei dad a gymerodd ato i ddechre, a rhyw ddiwrnod a roddodd iddo ddafad ac oen. Gwnaeth rhyw benaeth arall yn y gymydogaeth anrheg gyffelyb iddo. Ffynodd y praidd, ac aeth y ddwy ddafad yn ddeadell, a'r ddeadell yn ddeg, nes o'r diwedd fyned yn saith mil o ddefaid. Wrth lwyddo gyda'r defaid, dechreuodd ddelio mewn camelod, ac erbyn fod y rhai hyny yn dair mil, yr oedd ganddo bum can' iau o ychain a phum' cant o asenod, a llawer iawn o wasanaethyddion. Wrth lwyddo fel hyn, penderfynodd briodi a sefydlu yn y byd, a gwenai Rhagluniaeth arno yn y cysylltiad hwnw hefyd. Ganwyd iddo saith o feibion a thair o ferched, a chynnysgaeth i ddyn mewn gwlad newydd ydyw llïosogrwydd o blant. Parhâu i ymdrechu yr oedd Job, a llwyddiant yn gwlawio bendithion ar ei ben. Golchid ei gamrau âg ymenyn, tywalltai y graig iddo afonydd o olew, a golygai pob peth fod dyfodol gogoneddus o'i flaen. Tyfai y plant wrth fodd ei galon, yn llawn athrylith a bywiogrwydd. Prynai delyn i'r merched, ac organ i ddifyru y meibion. Fel llawer dyn llwyddiannus, edrychai ymlaen at adeg y caffai ymneillduo o'i fasnach, a rhoddi ei eiddo i ofal y meibion a gwaith y tŷ oddiar law ei wraig i'r merched glandeg a serchus oedd yn troi o'i amgylch fel angylesau. Addawai iddo seibiant tawel dros flynyddoedd henaint teg yn ei nyth clyd a difyr; y meibion yn hwyr y dydd yn chwareu yr organ, a'r merched, pan y mynai, yn goglais odlau pêr oddiar

danau y delyn i'w ddifyru; a pha bryd bynag y deuai ei gyfnewidiad, ymlawenychai yn y gobaith o gael marw yn nghanol ei deulu—y gwlychid ei wefus farwol gan law ysgafn un o'i ferched, y cynnelid ei ben i dderbyn ergyd marwolaeth gan fraich gref un o'i feibion, ac y gosodid ei weddillion i orwedd yn y tŷ rhagderfynedig gan ei blant mewn parch a galar mawr. Yr oedd dychymyg fywiog Job wedi tynu darlun deniadol o oes euraidd dyfodol ei fywyd.

Ond ow! druan o honi, mor wahanol i'w obeithion ar y pryd y troes pethau allan. Yn lle iechyd îr a hirhoedledd, dyddiau cystudd blin, a marwol yn ol pob ymddangosiad ar y pryd, a'i rhagflaenasant ef; yn lle nyth tew-glyd o gyfoeth, nid oedd ganddo ond gorwedd ar y domen heb gragen i ymgrafu, mor gwynfanus a'r dreigiau, ac mor amddifad a chywion yr estrys; yn lle cael ei amgylchu gan ei feibion a'i ferched i'w ddifyru ganddynt â thelyn ac âg organ, yr oedd yn gas ganddo feddwl am delyn, wrth gofio nad oedd perchenogion y bysedd gwynion a'i chwareuai mwyach ar dir y rhai byw, ac yr oedd son am organ yn tori ei galon wrth feddwl am ei fechgyn anwyl oeddynt unwaith mor hoff o honi, a laddwyd mor ddisymwth gyda'u chwïorydd yn nhŷ eu brawd hynaf. Pa sawl teulu anwyl a chwalwyd yn gyffelyb, er nad mor sydyn a dychrynllyd, ag y bu rhieni yn addaw iddynt eu hunain gysur mawr oddiwrthynt? Gwywodd y merched glandeg dan awelon deifiol y darfodedigaeth, a chollodd y meibion grymus eu bywyd cyn hanner eu dyddiau dan dònau yr hen fôr twyllodrus yna. Profiad llawer un heddyw yw—"Pan yn edrych am ddaioni, drygfyd a ddaeth."

Ond y mae yna rywogaeth arall o siomedigaethau anhawddach eu goddef, os nad mwy cyffredin, na'r rhai a nodwyd, sef yn

2. *Y siomedigaeth a geir yn yr amcan ar ol ei gyrhaedd.* Cafwyd y nôd oedd mewn golwg, eithr nid oedd cystal ar ol ei gael ag y dysgwylid ei fod. Do, fe ddaeth rhyw-

beth, ond "drygfyd, tywyllwch" ydoedd. Ceir engraff o'r rhywogaeth hon o siomedigaethau yn hanes Solomon. Dybygid mai dysgu hyn yw prif genadwri llyfr y Pregethwr. Gosododd yntau nôd o'i flaen, a chyrhaeddodd ef hefyd. Craffwch ar ei iaith, "Mi a wnaethum i mi waith mawr; mi a adeiledais i mi dai; mi a blenais i mi winllanoedd; mi a wnaethum erddi a pherllanau, ac a blenais ynddynt brenau o bob ffrwyth; mi a wnaethum lynau dwfr i ddyfrhau â hwynt y llwyni sydd yn dwyn coed; mi a ddarperais weision a morwynion; hefyd yr oedd i mi gaethweision tŷ; ïe, yr oeddwn i yn berchen llawer o wartheg a defaid, tu hwnt i bawb a fuasai o'm blaen i yn Jerusalem; mi a bentyrais i mi hefyd arian ac aur, a thrysor penaf brenhinoedd a thaleithiau; mi a ddarperais i mi gantorion a chantoresau, a phob rhyw offer cerdd, difyrwch meibion dynion"—yr oedd gan Solomon, fel Job, gerddoriaeth yn ei nyth—"a mi a aethum yn fawr, ac a gynnyddais yn fwy na neb a fuasai o'm blaen i yn Jerusalem;" ac eto "Gwagedd o wagedd, medd y Pregethwr, gwagedd o wagedd; gwagedd yw y cwbl." Siomedigaeth yn y diwedd. Nid siomedigaeth oblegid methu cyrhaedd amcan, canys nid methu ei gyrhaedd a wnaeth Solomon, ond medru. "Mi a aethum yn fawr," meddai. Cyrhaeddodd ei nôd yn sicr ac yn llawn. Ei brofedigaeth ef yn hytrach ydoedd siomedigaeth yn y nôd ar ol ei gyrhaedd.

Dacw yr aurafal *(orange)* addfed yn hongian ar gangen blygedig uwch ben y graig serth. Sicrhau hwnacw yw y gamp! Pwy a fedr? Serth yw y clogwyni ac uchel yw ei safle, ac anhawdd yw dringo nes cael ato. Llawer dyn dewr a geisiodd ac a fethodd. Ond daeth Solomon ymlaen, edrychodd i fyny, a dechreuodd ddringo wyneb danneddog y clogwyn; ymledodd y sôn am dano, daeth brenhines Seba o eithafoedd y dehau i'w weled drosti ei hun; a phan welodd, addefodd na fynegwyd mo'r hanner—ni welodd ei mawrhydi neb mor uchel ag ef erioed. O'r diwedd, ar ol hir ddringo, esgynodd i ben y graig ofnad-

wy; estynodd allan ei fraich rymus, a chyda gafaeliad dyn o ddifrif, tynodd yr aurafal oddiar y gainc yn ngwydd pawb. Ond beth wedi hyny? Erbyn dyfod i lawr a chraffu arno, cafwyd mai *orange* wedi ei sugno ydoedd ar ol y cwbl; "Gwagedd o wagedd, medd y Pregethwr, gwagedd yw y cwbl." Siomwyd ef yn yr amcan ar ol ei gyrhaedd. Ac y mae rhywogaeth felly o siomedigaethau. Gellid myned eilwaith dros y tir a gerddwyd eisoes gyda'r penawd hwn, a chael engraff o hono ar bob llaw.

*Ymlaenaf*, Siomedigaeth *mewn amlder dyddiau ar ol eu cael*. Soniasom am rai yn cael eu siomi mewn bywyd oblegid methu o honynt fyw i fyned yn hen; ond y mae yr un mor wir fod pobl sydd wedi cael byw i fyned yn hen yn siomedig yn yr amcan ar ol ei gyrhaedd. Gwrandewch beth yw iaith y Bibl ar hyn:—"Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuenctyd, cyn dyfod y dyddiau blin, a nesâu o'r blynyddoedd yn y rhai y dywedi, Nid oes i mi ddim dyddanwch ynddynt;"—dyddiau blin ydyw hen ddyddiau wedi eu cael; a serch fod rhai o honoch yn cael dyddanwch o le arall yn eu canol, ac er eu gwaethaf, addefwch oll nad oes dim dyddanwch *ynddynt*. Dyddiau "tywyllu yr haul a'r goleuni" y dydd, "y lleuad a'r ser" y nos ydynt;—dyddiau y dychwel "y cymylau ar ol y gwlaw"—dim hindda ar ol gwlawio, ond gwlaw ar ol gwlaw, y naill ddolur ar ol y llall mewn olyniad parhaus. "Yr amser y cryna ceidwaid y tŷ,"—y dwylaw fu yn amddiffyn y corff yn crynu wrth gludo tamaid o fara at y wefus, "a'r gwŷr cryfion"—yr ysgwyddau a'r cefn, yn crymu fel bwa tua'r bedd. Beth yw y drychau yna sydd genych ar eich llygaid? a bron na thaerai rhai o honoch na wneir cystal gwydrau yn awr ag a wneid flynyddau yn ol. Paham? Dyddiau "y tywylla y rhai sydd yn edrych trwy ffenestri" sydd wedi eich dal. "A chau y pyrth yn yr heolydd"— y ddwy glust yna a fuont yn byrth hwylus i genadon pob newyddion redeg i'r pen ydynt fwy na hanner cauedig, fel yr eir yn hurt ac anwybodus ynghylch

y pethau mwyaf cyffredin. Methu gweled i ddarllen, a methu clywed i ddysgu oddiwrth eraill. Bywyd yn faich y dydd; ymneillduo yn gynnar i orphwys, ond gwaew yn yr esgyrn di-fêr, loesion yn y gïau ysbyddedig yn lluddias cwsg y nos; troi a throsi, a hel meddyliau hyd oriau mân y bore; ac yna pan geid gafael mewn hûn, rhoddid terfyn ar hono gan lais yr aderyn—y codwr boreuaf o holl deulu y goedwig. Wrth glywed yr aderyn yn canu, adgofia yr henafgwr ddyddiau pryd yr arferai yntau ganu, ond aeth hyny drosodd ac ugain mlynedd ar ei ol, ac yn awr gos tyngwyd i lawr holl ferched cerdd, ac nid oes mwyach yn ei aros ond y tori a'r dryllio a'r dattod, a'i hebrwng i dŷ ei hir gartref, a'r galarwyr yn myned o bob tu yn yr heol. Cafwyd amlder dyddiau, ond dyddiau tywyllwch a drygfyd oeddent yn y diwedd—siomedigaeth a gafwyd yn yr amcan ar ol ei gyrhaedd.

*Yn ail*, Mae yr un peth yn wir *am lwyddiant bydol.* Ennillir cyfoeth a bri gan rai, ond afalau Sodom ydynt ar ol eu cael. Lle y mae llawer o dda, mae llawer i'w ddifa. Nid mewn cael llawer y mae dedwyddwch yn gynnwysedig, eithr mewn cael digon. Cyfoeth y cyfoethog ni âd iddo gysgu. Eiddo y gweithiwr ydyw y felus hûn. Lle y mae masnach eang a chyfoeth mawr, mae gofalon a chyfrifoldeb y sefyllfa yn gorbwyso yr holl gysur sydd ynglŷn â hwynt. Par cyfnewidiad yn mhris y farchnad drallod i'r meddwl; teifl pob tymhestl o wynt y meddwl i bryder yn achos rhyw long sydd ar ei mordaith; ac y mae diogi neu anonestrwydd rhyw was neu forwyn fel drain yn ystlysau y cyfoethog yn barhaus. Y mae yr annedd yn hardd, a'r gerddi o'i ddeutu yn brydferth; ond mynych y ca y forwyn fwy o fwynhad oddiwrth y palas na'r feistres, a'r garddwr fwy o ddifyrwch oddiwrth yr ardd na'r meistr. Pan oedd y dyn yn fachgen tlawd, edrychai ar eiddo a phalas fel nefoedd ar y ddaear; eithr wedi eu cyrhaedd, nid yw eiddo iddo ond baich, a phalas ond cartrefle trueni,—"drygfyd a ddaeth."

Dichon y dywed rhai o honoch, nad ydych yn ceisio cyfoeth er ei fwyn ei hun, eithr yn hytrach ar gyfrif y gallu a ddyry i chwi. Addefaf fod cariad at allu yn rhywogaeth uwch o dueddfryd na hoffder at gyfoeth, ac fod rhai dynion a fuasent yn diystyru y llwch melyn yn gaethion i'r chwant am allu ac awdurdod. Ymddengys fod Job, gyda'i holl berffeithrwydd, yn synied yn uchel am y gallu a feddai unwaith, ac fod colli ei allu yn un o brofedigaethau llymaf ei adfyd. Gwrandewch arno: "Hwy a wrandawent arnaf, ac a ddysgwylient; dystawent wrth fy nghynghor. Ar ol fy ymadrodd ni ddywedent hwy eilwaith; a'm hymadrodd a ddyferai arnynt hwy. A hwy a ddysgwylient am danaf fel am y gwlaw, ac a ledent eu genau fel am y diweddar wlaw. Os chwarddwn arnynt, ni chredent; ac ni wnaent i lewyrch fy wyneb syrthio. Dewiswn eu ffordd hwynt, eisteddwn yn benaf, a thrigwn fel brenin mewn llu, megys yr hwn a gysura rai galarus." Meddyliai Job gryn lawer o'i safle fel gŵr o gynghor ar y *Town Council*, fel prif ynad yn y llys, ac o gael eistedd yn benaf. "Ond yn awr," meddai, "y rhai sydd ieuengach na mi sydd yn fy ngwatwar, y rhai y diystyraswn eu tadau i'w gosod gyda chwn fy nefaid." Yr oedd colli ei allu yn myned at ei galon.

Ond pan na chollir gallu, cynnwysa fwy o gyfrifoldeb nag o anrhydedd, a phar fwy o boen nag o bleser. Nid yn unig y mae mwy o ymgeiswyr nag o goronau, ond y mae mwy o ddrain nag o berlau yn y coronau i'r rhai sydd yn eu cael. Ceir siomedigaeth yn yr amcan ar ol ei gyrhaedd.

*Yn drydydd*, Ceir llawer o siomedigaethau o'r fath yma *yn y cylch teuluol*. Nid siom oblegid fod y plant yn meirw, eithr siomedigaeth ynddynt ar ol eu dwyn i fyny. Pan anwyd plentyn hynaf y fam gyntaf, galwyd ei enw Cain, "canys," ebai Efa, "cefais ŵr gan yr Arglwydd." Tybiodd, ond odid, mai y Gwaradwr addawedig ydoedd y bachgen, ond ar ol ei ddwyn i fyny gyda'r cyfryw ddysgwyliad,

troes Cain allan yn llofrudd, a siomwyd y fam yn yr amcan ar ol ei gyrhaedd. Cwpanaid o'r un brofedigaeth a gafodd Eli yn achos ei ddau fab, Hophni a Phinees. Ar ol eu parotoi ar gyfer, a'u gosod yn y weinidogaeth, troisant yn feibion Belial, a lladdwyd hwynt gan y Philistiaid dan anfoddlonrwydd Duw.

Ah! pa sawl tad a mam a brofasant siomedigaeth gyffelyb yn Nghymru? Pan aned y bachgen hynaf, mawr oedd y llawenydd geni dyn i'r byd; magwyd ef yn dyner, addysgwyd ef yn dda, gwariwyd arian mawr i'w gychwyn yn ei alwedigaeth; cychwynodd yn addawol, ymblethai gobeithion goreu ei rieni am dano, ac addawent y byddai efe yn well na thelyn ac organ iddynt, yn eu hen ddyddiau. Ond ow! y siomedigaeth chwerw a gawsant ynddo! Nid oblegyd iddo golli ei iechyd a marw; na, na, ond rhywbeth gwaeth, mwy torcalonus na hyny. Colli ei gymeriad a chael ei gladdu mewn pechod a thrueni yn fyw. Gwell peidio adrodd yr hanes. Saeth i galon yr hen bobl yw clywed son am yr yfed gwin, a'r *sports*, y chwareudy a'r pethau ereill a ffurfiasant risiau melldigedig ei gwymp echrydus. Tyner y llen dros yr olygfa, a gadawer y calonau toredig yn ei achos ar gyn lleied o ofid ag y medrir. Profiad pob un o honynt yw, "Pan ddysgwyliais am oleuni, tywyllwch a ddaeth."

Byd siomedig yw hwn, gwae yr enaid a ymddiriedo ynddo! Siomedigaeth a geir wrth ei golli, a siomedigaeth ynddo ar ol ei gael. Cyn terfynu, dylem aros gronyn yn

## II.

### AR EFFEITHIAU DYLADWY SIOMEDIGAETHAU BYWYD.

Yr amcan mawr iddynt oll yw ein dwyn i ddysgwyl yn unig wrth yr Arglwydd, fel y byddom cadwedig. Ond cyrhaeddir yr amcan hwn trwyddynt,

*Yn mlaenaf*, Trwy gynnyrchu ynom *wir ddifrifwch.* Cauir llwybr bywyd o'n blaen gan siomedigaethau, bwrir dy-

chymygion i lawr, rhoddir cyfleusdra a chymhelliad i sefyll ar y ffordd, ac i ystyried pethau fel y maent. Deuir i adnabod gwagder gwychder y byd, i sylweddoli nerthoedd y byd a ddaw, ac i arafu mewn sobrwydd meddwl.

*Yn ail*, Trwy *gymedroli ein hunan-hyder*. Temtasiwn dyn llwyddiannus ydyw gorbrisio ei farn, ofergoelio ei ddeall ei hun, a gwallgofi mewn hunan-hyder. Ond y mae siomedigaethau bywyd yn dyrysu ei gynlluniau, yn trechu ei graffder a'i gryfder, ac yn dangos i ddyn ei waeledd a'i ffolineb. Bendith fawr i ambell *fop* hunanol yw cael ei daflu a'i luchio gan esgyll chwyrn siomedigaethau bywyd; ac yn wir, nid oes neb o honom uwchlaw dysgu y wers bwysig hon.

*Yn drydydd*, Trwy ein *diddyfnu oddiwrth y gweledig a'r presennol*. Wrth gael ein siomi yn y byd hwn eir yn llai awyddus am lawer o hono; cydir yn llacach yn yr hyn fydd genym, a gofelir mwy am ei droi yn foddion i sicrhau sylweddau mwy parhaus a gwerthfawr nag ef ei hun.

*Yn bedwerydd*, Trwy ein *dysgu i ymostwng i ewyllys Duw*. A dyma hanfod gwir dduwioldeb. I hyn y mae difrifwch, cymedroliad hunan-hyder, diddyfniad oddiwrth y byd, a phob peth a gynnyrchir gan siomedigaethau, pan y cânt arnom eu heffeithiau dyladwy, yn arwain. Cadw ein henaid ydyw yr amcan sydd i'r cwbl yn y pen draw. Dysgwn wersi bywyd. Peidiwn ag addaw gormod i ni ein hunain. Cofiwn mai cyflwr prawf arnom yw y fuchedd hon, ac nad yma y mae ein cartref terfynol. Dysgwn ymddiried yn yr Arglwydd. Cadwer ni rhag y siomedigaeth fawr o golli y nefoedd. "A thra yr oeddynt yn myned ymaith i brynu daeth y priod-fab, a chauwyd y drws." Ow, y siom a gafodd y merched ieuainc! Darparu gwisgoedd a lampau ar gyfer y briodas, a chael eu cau allan o honi yn y diwedd. Argraffed Duw y rhybudd ar ein calonau ni. Amen.

## HENRY WARD BEECHER YN 1873.

ERBYN hyn y mae y dyn athrylithgar, y pregethwr bydenwog, a'r darlithiwr dihafal hwn, wedi gorphen ei yrfa ddysglaer ar y ddaear, ac nid oes daw ar y geiriau caredig a chanmoliaethus a leferir ac a ysgrifenir am dano byth oddiar ddydd ei farwolaeth. A diau ei fod yn haeddu hyn oll, a llawer mwy. Pan ar ymweliad yn y Talaethau Unedig dair blynedd ar ddeg yn ol, achubais bob cyfleusdra i wrando arno ef, ac yn ffodus cefais gyfleusderau lawer. Clywais ef yn siarad bedair gwaith, a hyny oddiar safleoedd gwahanol bob tro. Y cyfleusdra cyntaf a gefais oedd ei *Lecture-talk*.

### ODFA NOSON WAITH

oedd hono a gynnelid bob nos Wener yn y *Lecture-room* dan y capel, o nodwedd neillduol iawn. Rhyw fath o ymgom gartrefol ydoedd ar ryw bwnc o ddewisiad Beecher, ac wrth gwrs agorwr y mater a'r prif ymgomiwr yn y cwmni, oedd y dyn mawr ei hunan. Y nos Wener yr aethum yno yr oedd yr ystafell yn llawn, ac yn cynnwys o leiaf chwe' chant o bobl. I'r fynyd yn yr adeg, daeth Beecher i fewn, ac heb fath yn y byd o rodres aeth rhag ei flaen i'w gader ar y llwyfan. Y mae y rhan lïosocaf o'm darllenwyr wedi gweled ei ddarlun, a llawer o honynt wedi cael golwg ar y dyn. Mae y darlun yn hynod o gywir, oddieithr fod arlliw ei wyneb yn gochach, a'i ymddangosiad gryn lawer yn hynach nag y cyfleir hwynt mewn pictiwr. Dyn byr a lled fychan ydoedd ond hynod gryno a *wiry*, gyda gwallt hir, yn cael ei grafellu yn ol dros ei glust, ac yn gorphwys yn gudynau prydferth ar ei ysgwyddau. Talcen uchel, gwyneb di-farf, ieuengaidd ei ymddangosiad ag ystyried ei oed. Gwefus deneu o bwrpas i siarad, yn nghyda llygad mawr mynegiadol ar wyneb y croen. Er nad oedd nemawr o braffder Thomas Aubrey, na rhwysg Rowland Hughes yn perthyn iddo, eto yr oedd ei ymddangosiad yn awgrymu ar unwaith ei fod wedi ei eni yn areithiwr. Y noson hono yr oedd ei ddiwyg yn bur anghlerigol; yn lle cadach gwyn a gwasgod ddu, gwisgai gadach du a gwasgod

wen. Trefn y cyfarfod oedd fel hyn:—Ymlaen pob dim, offrymodd Beecher weddi fer, ostyngedig a chynnwysfawr; yna unodd yr holl gynnulleidfa i ganu pennill ar eu heistedd. Wedi hyny gweddïodd diacon, un Capt. Duncan. ac ar ol hyny canwyd pennill eilwaith. Yna wele Beecher ar ei eistedd mewn cader-freichiau, yn tynu *slip* o bapyr newydd o'i logell, ac yn darllen adroddiad byr o ymosodiad ar ei bregethu a wnelsid arno yn y *Preachers' Meeting* gan Dr. Curry, New York. Ac amddiffyn H. W. Beecher ar "Bregethu" oedd pwnc y *Lecture-talk* y noson hono; yr hyn oedd yn ffortunus i mi am ddau reswm. Yn un peth, am y ceid mantais trwy hyn i wybod ei olygiadau athrawiaethol; a pheth arall, am fod cyfaddasrwydd yn y testyn i gynhyrfu y siaradwr, ac y mae yn rhaid cael hyny i glywed Beecher ar ei oreu. Siaradai ar ei eistedd, gan ddal ei ben yn uchel, mewn llais *sharp*, clir, cyfaddas i wneuthur pob math o aceniad, a phwyslais, ac oslef a ddymunai ei galon. Disgynai weithiau i'r tyner a'r difrifol, nes y tybiech fod ei galon ar dori; ymhen ychydig newidiai dôn ei lais a mynegiad ei wynebpryd; gan ymollwng yn rhydd siaradai mewn swn ymddyddanol, gan dori ei eiriau yn gwta; a thra mae cyfrolau o ddireidi, a gwatwaredd, ac ysmaldod yn chwareu ar ei wyneb, tywalltai ffrwd ferwedig o wawd ar ei wrthwynebydd. Golwg ddyddorol oedd arno yn troi *machine orthodoxy.* Yna wedi egluro ac ategu ei ddaliadau ei hun, dynoethi geudeb rhesymau, a gwawdio ymosodiadau diachos ei feirniaid, oll yn sydyn difrifolai ei wedd, dyrchafai ei ben, ysgydwai ei hirwallt, a dyna gawod o feddyliau bywiog, preiffion, a chyn lleted a'r ffurfafen; mewn llifeiriant o frawddegau croewen cryfion, cyn loewed a'r ser, yn cael eu harllwys allan yn gyflym mewn llais uchel, cynhyrfus, a ffrwydrol, nes yr oedd yr ystafell eang yn seinio, a'r holl gynnulleidfa yn cael ei chodi a'i chario gyda rhuthr anwrthwynebol, heb brin cael amser i feddwl pa beth oedd yn bod, heblaw ei bod yn sicr o ddau beth, sef fod yr ymosodydd ar Fugail Eglwys Plymouth ar lawr er ys meityn yn gelanau meirwon; ac fod yr hwn yr ymosodwyd arno eto yn fyw ac ar ei draed, ac fod ei draed yntau ar greigiau tragywyddol wirionedd, a'i fraich yn gref i amddiffyn ei safle, ac mai enw un o brif bregethwyr y bedwaredd ganrif ar bymtheg yw Henry Ward Beecher.

BORE Y SABBOTH CANLYNOL,

aethum i wrando arno yn pregethu. Hen addoldŷ llydan, plaen, yw Plymouth Church. Un oriel o'i amgylch, gyda phedair sêt yn yr ochrau. Organ fawr ac ardderchog a chôr tu ol i'r pregethwr, a llwyfan hollol glir a lled isel, yr un ffurf a gwyneb lleuad hanner llawn, iddo sefyll arni. Yr oedd pob modfedd o ofod yn y conglau, y rhodleoedd, a'r pyrth wedi eu darparu âg eisteddleoedd, fel mae y gynnulleidfa yn gorchuddio yr holl gapel mor gryno a chysbell a phe yn un darn, a phawb yn gysurus agos at y llefarwr; a'r trefniad hwn yn ddiau ydyw yr achos fod yr addoldy sydd yn gymharol fychan yn abl i eistedd dwy fil a hanner o bobl. A'r pryd hyny byddai yn wastad yn llawn. Felly yr ydoedd y bore hwnw. Yr oedd yr hinsawdd yn boeth iawn ar y pryd, a phawb yn gwyntellu yn zelog. Yr oedd yr eglwys yn lïosog a chref, ac yn talu y swm o bum' mil o bunnau i'w gweinidog—cyflog esgob, a'r swm uwchaf ond odid a roddwyd i weinidog Ymneillduol erioed; a diau ei fod yn haeddu gwneuthur o honynt hyn iddo. Gwisgai y pregethwr wasgod ddu y bore hwnw, ac ymddangosai yn fwy clerigol ei ddiwyg na'r nos Wener blaenorol. Dechreuodd y wasanaeth i'r fynyd yn yr adeg. Gweddïodd ddwywaith cyn pregethu; y tro cyntaf yn fyr a'r ail yn faith, cynnwysfawr ac effeithiol dros ben. Gweddïwr nodedig o dda. Ni chlywais neb erioed yn gweddïo yn debyg dros y weddw, yr amddifad, a'r truan. Yna darllenodd bennod yn barchus a defosiynol, fel dyn yn teimlo ei fod yn darllen gair Duw. Ar ol hyny rhoddodd allan y cyhoeddiadau, gwnaed y casgliad, lediwyd pennill a chanodd pawb yn galonog. Yna cafwyd pregeth ar "Drugarowgrwydd y Bibl," oedd o ran newydd-deb ei phwnc, gwreiddioldeb ei chynllun, cyfoeth ei gweithiad allan, a medrusrwydd ei thraddodiad, yn wir lun H. W. Beecher, ac yn gyfryw na buasai neb ond efe yn debyg o'i chynnyrchu. Clywais bregeth fwy trefnus, yn ol syniad yr urdd am drefn pregeth. A pha ryfedd? Dywed Fowler y Penglogydd mai pant sydd ar ael Beecher lle y dylai yr ermyg o Drefn fod, a thystiolaeth ei dad (Doctor Lyman Beecher) ydoedd, fod Henry, pan yn fachgen, yn cerdded wyth milldir yn y dydd i chwilio am ei het. A pheth oedd Beecher yn ei ofalu am fân reolau *Homiletics?* Creai ei athrylith fywiog a beiddgar ef drefn yn gystal a defnydd pregeth at ei wasanaeth ei hun, ac yn hyn y llechai un o brif elfenau ei fawredd. Nid oedd yr un fath a neb,

a champ i neb fod yr un fath ag yntau; safai ar ei ben ei hun ymhlith y pregethwyr, fel y saif ei chwaer,—awdures "*Uncle Tom's Cabin*," ymhlith y chwedleuwyr. Mae yr holl deulu yn hynod ymhlith plant dynion. Dosbartha yr Americaniaid y teulu dynol i dair rhestr, ac nid i ddwy, sef saint, pechaduriaid a'r Beechers.

Yn traddodi anerchiad ar bregethu ger bron

Y CYNGHRAIR EFENGYLAIDD

y clywais ef i'r fantais oreu. Cynnelid y cyfarfod hwn yn addoldŷ eang Dr. Adams, yn Maddison Square, ac yr oedd y lle yn orlawn o bigion pobl gwahanol sectau yr Eglwys Gristionogol. Ar yr oriel, yr ochr ddehau i'r pulpud, eisteddai pum' cant o fyfyrwyr o wahanol golegau y wlad. Ar y llawr yr oedd rhai cannoedd o weinidogion o bob enwad a gradd yn eistedd ac yn sefyll mor agos i'w gilydd ag y goddefai deddfau amser a lle. A hyfryd oedd gweled torf o Ddoctoriaid Duwinyddol—yr hen Dr. Dorner o Berlin, yn eu plith, yn sangu y naill a'r llall ar risiau yr areithle. Yr oedd hon yn olygfa nad anghofiaf byth. Llywyddwyd y cyfarfod gan Syr Charles Reed, A.S. Darllenwyd y papyr cyntaf gan Dr. Joseph Parker, Llundain. Ei bwnc ydoedd "*Modern Preaching and its requirements.*" A chyflawnodd ei waith yn llwyddiannus, yn enwedig yn rhan ddiweddaf ei anerchiad. Ar ei ol ef darllenwyd papyr galluog ar "*The Best Methods of Preaching*," gan Dr. Kidder, prifathraw un o'r Colegau Wesleyaidd yn America. Yn ddiweddaf galwyd ar Beecher i siarad ar "*The Mission of the Pulpit*," a siarad a wnaeth efe nes oedd y lle yn ferw drwyddo oll. Mae ceisio desgrifio y rhan a gymerodd Beecher yn yr oedfa hono yn fwy nag a ddymunwn wneuthur. Yr oedd yr amgylchiadau mor fanteisiol i'w dynu allan! y pwnc mewn llaw mor gydnaws â'i anianawd; person, llais a dawn; meddyliau, cynllun ac arddull; min gwatwareg, toddiant tynerwch, a ffrwydriadau areithyddiaeth y dyn hynod ac ofnadwy athrylithgar hwnw, mor weddus i'w gilydd, ac yn cydgyfranu tuag at gynnyrchu effaith mor rymus fel nad oes mwyach ysbryd ynof i gynnyg darlunio yr oedfa ar bapyr.

Erbyn hyn y mae Henry Ward Beecher wedi ei alw i'r nefoedd, a'i le ar y ddaear yn wag—ac yn gymaint felly, fel y barna Dr. Parker mai y llwybr doethaf bellach yw cau addoldŷ Plymouth i fyny.

J. E.

# XLI.

## DATHLU Y JIWBILI.—Y MAEN CYMHORTH.*

"*A chymerodd Samuel faen, ac a'i gosododd rhwng Mispah a Sen, ac a alwodd ei enw ef Ebenezer; ac a ddywedodd, Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni.*"—1 SAM. VII. 12.

DIWRNOD mawr yn Israel oedd y diwrnod pan gyfododd Samuel y maen cymhorth rhwng Mispah a Sen. Yr oedd yn achlysur cenedlaethol, ac yn cynnrychioli barn a theimlad yr holl wlad ar yr achlysur hwnw. Llenwid calon pawb â diolchgarwch a llawenydd. Nid anfarwoli ei lwyddiant personol ydoedd ymgais Samuel, ac nid moli Samuel, eu pen, oedd amcan y bobl. Safai y maen hwnw ar sylfeini lletach nag enw un dyn, er fod hwnw yn ŵr mawr, ac yn brif swyddog yr eglwys a'r llywodraeth ar y pryd. Nid cydnabyddiaeth o lwyddiant gwladol yn unig ydoedd, neu o oruchafiaeth grefyddol ychwaith, eithr pob un o'r ddau; golygid tynghed y wlad ac achos crefydd, buddiannau uchaf pobl a swyddogion Israel, yn y dathliad hynod hwnw. A gwnaed y cwbl o bwrpas i gydnabod llaw raslawn Duw yn yr holl amgylchiadau. Gwyddoch yr hanes. Yr oedd y Philistiaid wedi gorchfygu Israel, ac wedi dal arch Duw; meibion Eli wedi eu lladd, ac yntau ei hunan wedi marw dan yr amgylchiadau mwyaf poenus; y wlad mewn tlodi a thrueni o bob math, a'r gogoniant wedi ymadael o Israel. Yn yr adwy gyfyng hono, tosturiodd yr Arglwydd wrthynt a chyfryngodd ar eu rhan. Parodd i'r arch weithio ei ffordd adref o wlad y Philistiaid; galw-

* Traddodwyd y bregeth uchod yn yr awyr agored, wrth droed mynydd Bangor, prydnawn diwrnod dathliad Jiwbili ein Brenines, Mehefin 21, 1887.

odd Samuel i fod yn brophwyd ac yn farnwr ar Israel; dygwyd y genedl i gyfaddef ei phechod mewn ympryd a gweddi; adfywiodd crefydd; adferwyd trefn a llwyddiant a chysur mewn byd ac eglwys. Rhuthrodd y Philistiaid arnynt fel o'r blaen, ond Duw a gyfryngodd ar ran ei bobl trwy "daranau mawr," a hwy a laddwyd o flaen Israel. "Felly y darostyngwyd y Philistiaid, ac ni chwanegasant mwyach ddyfod i derfyn Israel; a llaw yr Arglwydd a fu yn erbyn y Philistiaid holl ddyddiau Samuel." O hyny allan cafwyd cyfnod o lonyddwch a threfn, o ddedwyddwch cymdeithasol a llwyddiant crefyddol am dros hanner can' mlynedd. Ar ol y cyfryngiad mawr hwn yn achos y Philistiaid, a'r hwn a arweiniodd i'r cyfnod yna o ddedwyddwch a llwyddiant yn hanes Israel, y gosododd Samuel y maen rhwng Mispah a Sen; a gwnaeth hyny i'r dyben o arwain a chadw meddyliau y bobl, ac yntau ei hunan, gyda'r ystyriaeth mai i Dduw yr oeddynt yn ddyledus am y cwbl. Gwyddai y bobl mai Samuel oedd yr offeryn, ond brysiai Samuel i gydnabod nad oedd efe ond offeryn yn unig, mai Duw a'u cynnorthwyodd, ac mai eu dyledswydd oll oedd rhoddi ffurf arosol i'w teimladau o ddibyniaeth hollol arno, a diolch gwresog iddo, yn y maen a gyfodid yn y lle hynotaf yn y wlad—rhwng Mispah a Sen—ac a elwid Ebenezer.

Dyma yr ysbryd sydd yn gweddu i ninnau, benadur a phobl, ar y diwrnod mawr hwn yn hanes ein gwlad, wrth ddathlu Jiwbili teyrnasiad ein grasusaf Frenines. Cydnabod llaw ddaionus Duw, yn y cynnydd a'r llwyddiant sydd yn nodweddu hanes Prydain yn ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf. Nid anwybyddu, heb son am anmharchu, ein Penadur. Nid heb achos y mae y wasg ddyddiol yn ei hanrhydeddu fel y gwnant y dyddiau hyn. Cyfiawnheir unrhyw ganmoliaeth a roddir i'w chymeriad personol gan ei hanes o'i mebyd. Er na fedd athrylith ddysglaer Elizabeth, neu anianawd athronyddol y Frenines Caroline, amlyga fwy o synwyr cyffredin a chysondeb cref-

yddol na'r un o'r ddwy. Os na chymerodd ran mor bendant ac amlwg yn amgylchiadau cyhoeddus y wlad â rhai o'i rhagflaenorion gwrywaidd, yr hyn hefyd na fuasai yn rhesymol i'w ddysgwyl; eithr ni fu y llys breninol erioed yn burach, anrhydedd llysol erioed yn uwch, dysgyblaeth deuluol y llys erioed yn berffeithiach, nac esiampl bersonol penadur erioed yn amgenach ymhob rhinwedd personol a chymdeithasol nag ydynt er pan y mae Victoria ar yr orsedd. Mae cymaint o'r ferch ufudd ac anwyl, o'r wraig ddarbodus a charuaidd, ac o'r fam ofalus a serchog yn perthyn iddi, fel nas gall neb ddarllen ei hanes heb deimlo parch cywir i'w chymeriad personol. Y mae ein Brenines yn fwy o ddynes nag ydyw o frenines. Derbyniodd y newydd am ei hawl i'r orsedd gyda dagrau yn ei llygaid; ac nid cynt ei hysbysid o hyny gan yr Archesgob, a'r na cheisiai ran yn ei weddïau. Nid anghofiodd barchu hynafgwr musgrell, neu ewythr caredig, nac anghenion bychain Dash ei chi, yn nghanol rhwysg enfawr dydd ei choroniad. Y flwyddyn gyntaf o'i theyrnasiad, neillduodd gyfran o'i chyllid personol i dalu dyledion ei diweddar dad; a'r ail flwyddyn ddyledion ei mam weddw; a gofalodd na chreodd ddyled erioed ar ei chyfrif ei hun, i feichio na gwaradwyddo y deyrnas, fel, ysywaeth, y gwnaethai llawer o'i rhagflaenoriaid coronog mewn oesoedd hen a diweddar. Arddelwa arferion o ddiwydrwydd a chynnildeb, trefn a phrydlondeb, cydymdeimlad a defosiwn. Gwelwyd hi cyn hyn yn darllen pennod ac yn offrwm gweddi yn mwthyn gweddw dlawd; dyry sylw manwl i addoliad Dwyfol yn ei hystafell, ar yr aelwyd, ac yn y cyhoedd. Parcha Air Duw; a golyga yr hyn a ddywedodd wrth y Penaeth estronol mai y Beibl yw dirgelwch mawredd Prydain. Cymer ddyddordeb tyner yn ei deiliaid; ac ni âd i amgylchiad o brofedigaeth chwerw iawn, neu weithred o arwriaeth nodedig fyned heibio heb gydymdeimlad a gwobr. Gan nad beth yw gwrthwynebiad rhai i freniniaeth, fel y cyfryw, neu feirniadaeth eraill ar ymddygiadau cyhoeddus ein Pen-

adur, cytuna pawb i barchu a gwerthfawrogi cymeriad personol dilychwin ein Brenines.

Nis gellir anghofio ar yr achlysur hwn ychwaith y *trallodion personol* a ddyoddefodd yr hon y chwennychir ei hanrhydeddu. Dynes ydyw hithau sydd yn gorfod goddef fel chwithau. Ganed hi i'r byd yn nghanol blinder teuluol. Pan nad oedd ond ychydig fisoedd oed, bu farw ei thad. Ar ol bywyd priodasol hynod o ddedwydd a chymharol fyr, collodd ei phriod,—ergyd nad ydyw byth wedi gallu ymuniawni ar ei hol. Wedi hyny bu farw ei hoffaf ferch, ac yna ei ffafryn fab. Goroesodd rai o'r gwasanaethyddion tŷ anwylaf ganddi, a gwelodd farwolaeth Melbourne, Peel, a Beaconsfield, ac eraill o'r gweinidogion gwladol uwchaf yn ei golwg. Bu Tywysog Cymru, ei mab hynaf, unwaith yn agos i angeu, a llawer gwaith y gwnaed cais i gymeryd ymaith ei bywyd hi ei hunan. Yn nghanol rhwysg a gwychder allanol y llys, un a welodd flinder yw ein Brenines; a phe na byddai ond ar y cyfrif hwn yn unig, ni ddylem ei hanghofio ar y dydd llawen hwn.

At y ddau, mae *meithder amser ei theyrnasiad* yn 'rhoddi arbenigrwydd ar y Frenines. Yn hanes ei choroniad, dywedir fod tri ar ddeg ar hugain o freninoedd a phedair brenines wedi bod yn eistedd o'i blaen hi yn yr hen gader, a welir heddyw yn Mynachlog Westminster, i gael eu coroni, ac fod breninoedd Ysgotland am gannoedd o flynyddoedd wedi bod yn cael eu coroni ar yr hen gareg fawr ac arw sydd dan y gader hono; eithr o'r holl dorf freninol hyny, ni fu ond tri yn teyrnasu am amser digon maith i weled blwyddyn eu Jubili, sef Harri y Trydydd, Iorwerth y Trydydd, a Sior y Trydydd. Y mae hanner can' mlynedd o fywyd cyhoeddus, mewn unrhyw gylch, yn beth pur anghyffredin, yn enwedig ymhlith dosbarth prin penau coronog y ddaear. Ystyrir gweinidog yr efengyl a lafuriodd am hanner can' mlynedd yn ngwaith y weinidogaeth yn arwr yn ei gylch, neu ryw un a fu am gyfnod mor faith a hyn yn aelod seneddol, yn dad y tŷ. Ac nid

oes hanes neb a fu yn brifweinidog y deyrnas hon na'r un deyrnas arall am yn agos yr amser. Ar wahan i bob ystyriaeth arall, mae meithder ei theyrnasiad ynddo ei hunan yn ddigonol i ennyn brwdfrydedd mawr yn y Frenines yn bersonol.

Yn chwanegol, pwy a all beidio teimlo felly gyda golwg arni wrth ystyried ei bod *yn ben ar y gallu mwyaf sydd yn yr holl fyd.* Ar gyfrif cyfoeth, masnach, gallu gwladol, eangrwydd trefedigol, a chrefydd, priodol y gelwir ei theyrnas hi yn Brydain Fawr. Dichon na fu y fath allu erioed ar wyneb y ddaear. Ac at y cwbl, hynodwyd y teyrnasiad presennol gan *heddwch* a *llwyddiant mawr*, fel y ceisir dangos wrth fyned ymlaen.

Heb ymdroi yn hŵy i gyfeirio yn neillduol at ein Penadur, yr ydwyf yn eich gwahodd oll i *gydnabod llaw ddaionus yr Arglwydd yn hanes ein gwlad yn gyffredinol, yn ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf.* Cyfnod o gynnydd, dedwyddwch a llwyddiant a fu. Gwelir llawer Paul yn planu, ac Apolos yn dyfrhau mewn byd ac eglwys, gwyddoniaeth a chrefydd, diwydrwydd a masnach, wrth fwrw golwg dros yr hanes, ond Duw a roddes y cynnydd. A chydnabod hyny, cyfodi maen a'i alw yn Ebenezer i arwyddo hyny, ydyw y gorchwyl ag yr ymgynnygir arno heddyw y prydnawn.

## I.

### CYDNABYDDWN LAW DUW YN NGHYNNYDD Y BOBLOGAETH.

Un o nodweddau dysgeidiaeth y Bibl yw y pwys a ddyry ar ddyn, yn enwedig yn y Testament Newydd. Dyn, pwy bynag yw, a beth bynag yw ei amgylchiadau. Iuddew a Groegwr, caeth a rhydd, hen ac ieuanc—dyn. Gwreng neu foneddig, tlawd neu uchelradd, swydd neu heb swydd—dyn. Golygir fod pwys a gwerth cynnwynol mewn dyn. Damweiniau allanol, weithiau yn bresennol, ac weithiau yn absennol, yn amrywio mewn pwys a gwerth yn ol

galwad amgylchiadau, ydyw cysylltiadau teuluol, sefyllfaoedd cymdeithasol a'r pethau sydd o'i amgylch. Hyny o werth a berthyn iddynt, perthynasol ydyw, yn deilliaw iddynt oddiwrth werth hanfodol dyn. Ei anghenion ef sydd yn galw am danynt, ei gysur ef sydd yn rhoddi gwerth ynddynt,—ynddo ef ei hunan, ac nid yn y *trappings* hyn sydd o'i ddeutu, y mae ac y gall fod gwir deilyngdod. Colled yw ennill yr holl fyd, os collir hwn. Y dyn, noeth a syml, ydyw y bôd pwysicaf sydd ar wyneb y ddaear. Fel hyn y dysgai Mab y dyn am bethau yn nyddiau ei gnawd, a bydded y Pedair Efengyl yn dystion.

A chredwyf mai oddiar rhyw ymdeimlad dwfn, ond dall i raddau, o hyn, y cyfyd yr anesmwythder diorphwys sydd yn dygyfor cymdeithas er ys oesoedd, ac yn awr yn gryfach nag erioed, gyda golwg ar safle dyn fel y cyfryw yn y byd. Paham y cyfodir yn erbyn cyfalaf ac awdurdod; yn erbyn tir-feddianniad a breninoedd? Rhyw ymdeimlad sydd yna fod dyn yn fwy gwerthfawr nag arian, yn fwy pwysig na swydd; ac yn hawlio ystyriaeth o flaen yr awdurdod sydd yn ysgwyd teyrnwïalen uwch ei ben, neu y traddodiad sydd yn hawlio tir y ddaear dan ei draed.

Y *factor* pwysicaf, wedi y cwbl, yn hanes Prydain Fawr heddyw ydyw y bodau dynol a fu, neu a geir ynddi; gan hyny ein hymofyniad cyntaf a ddylai fod ynghylch poblogaeth y deyrnas. Llawer a ddywedir am arwynebedd y meddiannau Prydeinig, ac y mae hwnw yn anferth. Cynnwysa y seithfed ran o holl wyneb y ddaear, ac y mae wedi dyblu yn ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf. Nid yw yr haul yn machludo ar ein heang etifeddiaeth. Ond beth yw nifer y bodau dynol a dalant warogaeth i goron Lloegr? Yr ateb cyffrous ydyw, fod y bedwaredd ran o boblogaeth y ddaear yn gwneuthur hyny, ac y mae y cynnydd a fu yn ystod teyrnasiad Victoria yn aruthrol o fawr. Yn ystod y deng mlynedd ar hugain diweddaf cynnyddodd poblogaeth Lloegr a Chymru yn ol 46 y cant; Ysgotland 33 y cant, tra y lleihaodd poblogaeth Iwerddon

yn ol 16 y cant. Serch y lleihad hwn yn yr Ynys Werdd, bu y cynnydd cyffredinol yn 30 y cant, neu yn gynnydd clir cyfartal i hanner y boblogaeth. Bu hyny mewn deg ar hugain o flynyddoedd cofier, a hyny gartref; beth am gynnydd chwanegol yr hanner canrif, yn enwedig yn ein tiriogaethau tramor?

Dichon y dywed rhyw un, mai o hyn y cyfyd ein perygl a'n hanhawsderau. Mewn gwlad fel hon, lle y mae 473 o bersonau ar gyfer pob milldir ysgwar o dir, nid annaturiol yw tybied ein bod yn sathru traed ein gilydd ac yn suddo i brinder a thlodi. Ond y mae ochr arall i bwnc fel hwn; mae cynnydd yn y boblogaeth yn ychwanegu at ein gallu i gynnyrchu yn gystal ag at ein diogelwch rhag ymosodiadau oddiallan. Heb fyned i'r ddadl hon, edrychir yn gyffredin ar gynnydd yn y boblogaeth fel bendith, ac arwydd o ffafr Duw. Arddangosiad o anfoddlonrwydd Dwyfol ydyw pan wneir i'r ddinas aml ei thrigolion eistedd ei hunan; a daioni i'w ddymuno yr ystyrir gwneyd y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref. Truenus fuasai gweled ein heolydd yn weigion, ein trigfanau yn anghyfannedd, a'r deyrnas oll ar ei hencil fel y mae yr adran Wyddelig o honi. Nid felly y mae pethau, fy ngwrandawyr; ar gynnydd mewn rhifedi yr ä y deyrnas yn barhaus; llïosogi mae deiliaid Victoria bob dydd; a chan olygu hyn fel bendith, ein braint yw cydnabod llaw Duw gyda golwg ar hyn, ar ddathliad y Jiwbili.

## II.

Cydnabyddwn law Duw yn SEFYLLFA IECHYD A CHYSURON Y BOBLOGAETH FAWR HON.

Cwynir fod llawer o drueni eto yn y wlad ac amryw afiechydon yn blino dynion. Oes y mae. Ond er y cwbl, mae safon cysuron y cyffredin yn llawer uwch nag ydoedd hanner can' mlynedd yn ol. Gwisgir yn well, bwyteir yn frasach, a thrigir mewn rhagorach anneddau.

Ac y mae iechyd y trigolion yn well a phobl yn byw yn hwy nag y byddent hanner can' mlynedd yn ol. Yn ystod y 30 mlynedd diweddaf, mae marwolaethau wedi disgyn o 22 y fil i 19; ac y mae hyny yn wellâd lled bwysig.

Diau y cyfrifir am hyn, i fesur helaeth, gan y gwelliantau a wnaed yn ddiweddar yn y pethau sydd yn ammodau iechyd, megys y dyfrffosydd a agorwyd yn y trefi, y gofal am burach dwfr i'w yfed, ac am well awyriad a chyfleusderau eraill i'n trigfanau. Yn yr hen amser ymwelid â'r wlad gan glefydau heintus a marwol, na chlywir son am danynt yn bresennol.

Y mae cynnydd mawr hefyd wedi cael ei wneuthur trwy gymhorth gwyddoniaeth yn moddion adferiad iechyd. Rhoddir gwell addysg i'n meddygon, gwyddys lawer mwy am briodoleddau cyfferi meddygol, fel y mae mewn physigwriaeth lawer o bethau newyddion tuag at arbed bywyd ac adfer iechyd. Peth diweddar ydyw y moddion a arferir i ddideimladu y dyoddefydd dan gyllell y llawfeddyg, ac y mae llawer iawn llai yn meirw nag arferol oblegid y medr nodedig a arferir gan feddygon diweddar yn yr adran hon. Gwneir gwasanaeth ddirfawr hefyd gan ein Hysbytai, a'n sefydliadau cyhoeddus ereill a gyfodwyd i'r amcan hwn. Mae moesau y wlad yn uwch, a llai o feddwi a baeddu a chyflawni troseddau o'r fath ar ddeddfau iechyd, nag a fyddai. Nid yw oriau llafur mor feithion ychwaith, na gorfodaeth ar ddyn i gyflawni cymaint o drymwaith lladdgar ag arferol cyn oes y peiriannau yma sydd mor gyffredin yn awr. Pe bae y rhedegfa fasnachol ychydig yn arafach, a'r pryder meddyliol sydd yn cyfodi oddiar lymder y gystadleuaeth sydd ar droed yn nghylchoedd bywyd ychydig yn ysgafnach, canfyddid fod hon yn oes fanteisiol i iechyd da ac amlder dyddiau. A chymeryd pethau fel y maent, ni fu pethau erioed cystal yn y deyrnas hon ag ydynt yn awr, o ran cysuron a chyfleusderau iechyd. O'r Arglwydd y daeth hyn oll; efe sydd yn rhoddi doethineb i ddynion, ac yn

dysgu dwylaw gwyddonwyr i ymladd âg afiechydon, fel y parodd i Israel gynt orchfygu y Philistiaid. Cydnabyddwn Ef, cyfodwn faen cymhorth rhwng Mispah a Sen, a galwn ef Ebenezer, gan ddywedyd, "Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni."

## III.

Cydnabyddwn law Duw yn HANES MASNACH y cyfnod. Cadwn olwg sefydlog ar ddyn fel canolbwnc hyn hefyd. Ei anghenion amrywiol ef sydd yn galw am fasnach. Darparu bwyd a diod, dillad a thrigfan iddo ef ydyw cenadwri masnach. Syml iawn ydoedd ar y cyntaf. *Barter* uniongyrchol, a hyny yn unig. Rhoddai y bugail defaid wlan a chig yn gyfnewid i'r garddwr am lysiau a ffrwythydd; a chyfnewidwriaeth yw hanfod masnach o hyd o ran hyny. Cyfrwng cyfnewidwriaeth yw arian, ac nid rhan hanfodol o fasnach. Wrth i ddyn ymgodi mewn gwareiddiaeth lliosogai ei anghenion, a bu raid cyrchu arlwyon o bell. Tuag at wneuthur hyny, dyfeisiwyd cyfundrefn o gludaeth; llongau ar y môr a cherbydau ar y tir. Bob yn ychydig adeiledid gwell llongau, yn cludo mwy o swm ar unwaith, ac yn dychwelyd o'u neges mewn llai o amser. Ar y tir bu raid cael ffyrdd a cherbydau; o'r diwedd cafwyd ffyrdd heiyrn ac ager i lusgo y cerbydau. Esgorai y cyfleusderau hyn ar fasnach brysur, a gwnaed yr holl fyd yn un farchnadfa. Rhoddwyd toll ar Ffrainc, China, a Chalifornia, i arlwyo boreufwyd i rai o honoch chwi bore heddyw. Par hyn allforion a mewnforion. Mae teyrnasoedd y ddaear yn newid nwyddau â'u gilydd yn awr, fel y bu y bugail a'r garddwr gynt. Tuag at ddwyn ymlaen drafodaeth eang fel hyn, rhaid cael llafur—llaw a phen. Anghenrheidiol hefyd yw cael cyfryngau hysbysiaeth am anghenion rhanau pellenig y byd a phrisiau y farchnad. Danfonid negeswyr yn yr hen amser, yna llythyrau, ac yn awr gwneir defnydd o'r mellt. Amcan y cwbl yw darparu ar gyfer anghenion dyn.

Wrth adolygu yr hanner can' mlynedd diweddaf, canfyddir fod camrau breision iawn wedi cael eu gwneuthur i chwyddo, hwyluso, a pherffeithio masnach. O ran ei swm, mae masnach y wlad hon wedi mwy na dyblu yn y cyfamser. Mae ei chylch hefyd yn llawer iawn eangach. A beth am ei chyfleusderau? Y melinau i wau gwisgoedd a malu ŷd sydd yn britho y wlad a gyfodwyd yn ddiweddar! Yr agerlongau haiarn sydd yn rhwygo tonau yr eigion, y *Great Eastern* yn eu plith, ac y mae y *tonnage* wedi dyblu yn y 30 mlynedd diweddaf. Y miloedd o filldiroedd o reilffyrdd a adeiladwyd at wasanaeth teithwyr a masnach. Gymaint a symbylwyd ar fasnach gydgenedlaethol gan *Exhibitions*, ond yn oes y Frenines bresennol y sefydlwyd hwy, a'r Tywysog Cydweddog oedd prif ysgogydd y gyntaf a gynnaliwyd yn 1851. I'w theyrnasiad hi y perthyn y *penny post*, y *book post* a'r *parcels post*, a'r cyfleusderau diweddar ereill i fasnach a wnaed gan y Llythyrdy. Hefyd y gwefrebr sydd â'i llinyn drwy yr holl ddaear, a'i geiriau hyd eithafoedd y byd. Addefir fod gwaith yn brin, cyflog yn isel, masnach yn farwaidd, ac eiddo yn ddigynnyrch y blynyddau diweddaf yma; ond y mae yr esboniad a roddir ar yr achos o hyny yn dangos daioni Duw tuag atom, mor amlwg a phe buasai pethau yn wahanol. Gwyddoch mai gorgynnyrchiad *(over-production)* ydyw yr esboniad ag yr wyf yn cyfeirio ato. Beth yw hyny? Mwy o drugareddau nag sydd o le i'w derbyn. Mwy o ŷd a ffrwythydd nag a fedrwn ni fwyta; mwy o ddillad wedi eu darparu nag a fedrwn wisgo; mwy o anifeiliaid wedi eu magu nag sydd eisieu arnom; a mwy o eiddo ar gael nag a fedrwn ddefnyddio. Nid prinder, ond gorlawnder, sydd wedi tagu ein marchnadoedd. Yn lle cwyno, diolch a ddylem, hyd yn nod ag ystyried pethau fel y maent. Ac wrth gymharu cyflwr masnachol Prydain heddyw â'r hyn ydoedd pan fu farw Gwilym y Pedwerydd, neu â'r hyn ydoedd am rai blynyddau ar ol coroniad Victoria, canfyddir gwelliant dirfawr. Cyfodwn faen rhwng

Mispah a Sen, galwn ef Ebenezer, a dywedwn, "Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni."

## IV.

Cydnabyddwn law Duw yn Nghynnydd Gwybodaeth ac Addysg y wlad.

Mae gan ddyn feddwl i'w ddiwyllio a'i ddysgyblu. Dylid dechre yn gynnar, arfer moddion llafurfawr, a glynu wrth y gorchwyl yn faith. Oddiar hyn cyfyd yr anghenrheidrwydd am athrawon, ysgolion, a llyfrau; ac effaith gofal dyladwy gyda hyn yw gwybodaeth, darganfyddiadau a dyfeisiau o bob math ydynt mor fuddiol i ddyn. Ni fu cynnydd mor gyffredinol yn moddion addysg ac agweddau gwybodaeth erioed yn hanes y byd ag a fu yn Mhrydain Fawr yr hanner can' mlynedd diweddaf.

Dylem gofio nad gydag esgyniad Victoria y ganwyd doethineb, nac y dechreuwyd sefydliadau addysg. Ymddangosodd cenedlaethau o feddylwyr yn yr hen oesoedd, yn Rhufain a Thir Groeg, ac yn Ngwlad Canaan, a lleoedd ereill tu allan i'n hynysoedd bychain ni. Ac y mae cewri mewn athrylith a dysg wedi bod yn oesi yn Mhrydain cyn dyddiau ein Brenines bresennol. Yr oedd Prifysgolion Rhydychain a Chaergrawnt fel dau oleuad mawr, yn llewyrchu yn ffurfafen y deyrnas er ys oesoedd cyn iddi gael ei geni. A bron na themtir dyn ar adegau i gredu mai cynnyrchion y dyddiau gynt ydyw y llyfrau trymaf sydd ar gael.

Ond bydded felly, os dewiser, amlwg yw, na chafodd y werin a'r tlodion erioed gymaint o gyfleusderau gwybodaeth ac addysg ag sydd ganddynt yn awr. Eiddo ychydig o bigion y bobl oedd manteision addysg gynt. Dan deyrnasiad Victoria y darparwyd addysg elfenol i'r tlodion, y dilëwyd treth y papyr, ac yr agorwyd Prifysgolion i Gymru. Hen filwr â choes bren, digon anwybodus ac anfedrus, oedd unig athraw plant cymydogaeth bwysig

gynt, ac nid oedd gan ranau eraill o'r wlad gymaint a hyny i ymladd â thywyllwch anwybodaeth eu hoes. Pa ryfedd os na fedrai y bobl ddarllen nac ysgrifenu, ac fod y fagddu yn eu gordoi? Mor ddiweddar a'r flwyddyn 1855, yr oedd 35 o bob cant yn analluog i ysgrifenu eu henwau, ac nid oedd cyfanswm y *grant* a ganiateid gan y Llywodraeth at addysg uwchlaw pedwar can' mil o bunnau. Ond yn 1870 pasiwyd mesur Addysg Elfenol, yr hwn a ddechreuodd gyfnod newydd yn hanes y wlad. Erbyn hyn mae ysgoldŷ eang a chyfaddas, athraw galluog a thrwyddedig, yn nghyrhaedd plant pawb, ac uwchlaw pedair miliwn o bunnau yn cael eu cyfranu o bwrs y Llywodraeth tuag atynt. Yn y flwyddyn 1851 nid oedd ond ychydig dros chwarter miliwn o blant yn ysgolion Prydain Fawr, ond erbyn heddyw y mae y nifer yn dair miliwn a chwarter, neu saith waith yr hyn ydoedd chwarter canrif yn ol. Rhyw 12 o bob cant sydd yn awr yn analluog i ysgrifenu, a buan y bydd y rhai hyny wedi dysgu. Ac er nad yw moddion addysg yn berffaith, eto ymhob rhan o'r deyrnas, ychydig sydd yn awr ar ffordd bachgen tlawd i ddringo o risyn i risyn nes sefyll ar binacl uwchaf gwybodaeth a dysg.

Y nodwedd gyffredinol a phoblogaidd hon sydd hefyd ar lenyddiaeth yr hanner canmlwyddiant a ddathlir heddyw. Ychydig o enwau mawrion sydd yn britho y cyfnod mewn unrhyw ganghen o lenoriaeth. Pa fardd sydd genym hafal i Milton neu Shakespeare, neu hanesydd mor enwog a Gibbon? Nid llawer sydd genym a gymerant eu lle yn yr un rhenc mewn anfarwoldeb a Locke a Bacon, Butler, Baxter a Bunyan, Wesley a Whitefield. Ni ddylem anghofio mai i'r cyfnod Victoriaidd y perthyn Macaulay a Green, Carlyle a Ruskin, Newman a Pusey, Hamilton a Drummond, Lightfoot a Westcott, Liddon a Farrar, Parker a McLaren, Spurgeon a Punshon, a Tennyson, ac eraill ag y bydd son am danynt ganrifoedd eto i ddyfod. Ond nid ydynt yn llawer mewn rhifedi. Ymddengys nad gweithio

trwy offerynoliaeth ychydig ddynion gwir fawr yw trefn y Nef ar y ddaear yn awr; eithr trwy lawer o ddynion ychydig yn fwy na'r cyffredin. Rhanu y doniau, gwasgaru addysg, amlhau gwybodaeth, trwy i lawer gynniweirio. Mae mwy o wŷr dysgedig yn y deyrnas yn awr nag a fu erioed, ac y mae cyfanswm gwybodaeth gyffredinol y werin yn cynnyddu bob blwyddyn. Dwyn gwybodaeth i gyrhaedd pawb ydyw osgo y cyfnod dan sylw. Cyhoeddi argraffiadau rhad o lyfrau uwchraddol; lledaenu gwybodaeth trwy gyfrwng cyfnodolion, a rhoddi newyddiadur yn llaw pawb.

Gallesid nodi darganfyddiadau pwysig a dyfeisiau buddiol a wnaed yn y cyfamser. Ceir mantais i ystyried y pethau hyny—ac y maent yn deilwng o'ch sylw oll—mewn llyfrau a phrif erthyglau newyddiadurol; yr unig sylw hoffwn wneyd arnynt yn bresennol yw eu bod bron oll o nodwedd ymarferol ac yn fuddiol i wasanaethu anghenrheidiau a mwynhâd y bobl yn gyffredinol. Un o gynnyrchion yr hanner can' mlynedd diweddaf yw gwawl-luniaeth *(photography)*, ac y mae y ddyfais ryfedd hono wedi gwneyd pethau yn bosibl i'r cyffredin nad allai ond cyfoethogion eu caffael o'r blaen. Moethau costus gwŷr arianog oedd cael tynu eu lluniau gynt, ond gall y tlotaf ei fforddio yn awr. Mae goleuni yr haul yn gwneyd ei waith yn rhatach na'r arluniwr mewn olew. Y canlyniad yw fod arluniaeth wedi dyfod at wasanaeth fwy cyffredinol nag y bu erioed. Gellir dyweyd yr un peth am bob darganfyddiad a dyfais arall bron a wnaed yn y deng mlynedd a deugain diweddaf. Diolchwn i Dduw am y gymwynas. Efe yw Tad y goleuni, sydd yn rhoddi gwybodaeth i ddyn. Efe sydd yn ysbrydoli Bezaleel ac Aholïab o hyd i wneuthur pob dyfais a chywreinbeth. Cydnabyddwn ei ddaioni yn hyn fel gwlad, gosodwn faen rhwng Mispah a Sen, galwn ei enw ef Ebenezer, a dywedwn, "Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni."

## V.

Cydnabyddwn law Duw yn y DIWYGIADAU CYFREITHIOL a gafwyd.

Y mae gan y dyn, ar yr hwn y sefydlwn ein sylw o hyd, fel canolbwnc hanes pob gwlad, *gydwybod.* Medda syniad cynhenid am iawnder a threfn. Oddiar hyny ymddadblyga y meddylddrych o gyfraith. Rhoddodd hyny fodolaeth i alwad am ddeddfwneuthurwyr a deddfweinyddwyr. Yn yr oesoedd tywyll, gair y brenin oedd y gyfraith, a pha ryfedd os oedd delw mympwy, a balchder a thraha gormeswyr ar yr hen ddeddfau gwladol? Ffurfir cyfreithiau ein gwlad ni er ys talm bellach gan y ddau Dŷ o Senedd. Ar ol eu llunio, anghenrhaid yw cael cyfreithwyr a barnwyr, ustusiaid, heddgeidwaid, i'w deall a'u gosod mewn grym. Bwriedir adran o'r gyfraith i gyfarwyddo ac amddiffyn person y dyn, ac adran arall i reoli a diffynu ei feddiannau. A'r fath ydyw perthynas teyrnasoedd y byd â'u gilydd, fel y mae yn ddoeth ffurfio deddfau cydgenedlaethol. Ac yr ydych oll yn barod i gydnabod fod cyfraith Prydain heddyw yn yr holl adranau a nodwyd yn llawer iawn rhagorach nag ydoedd pan esgynodd Victoria i'r orsedd.

Amser a ballai i fanylu. Digon i'r pwrpas presennol, fe allai, fyddai dyweyd mai yn nghyfeiriad eangiad hawliau y bobl, cydoddefiad cymdeithasol, rhyddid crefyddol a heddwch gwladol, y bu y diwygiad cyfreithiol a gafwyd. Edrycher dros restr yr hen ddeddfau a ddilewyd, neu y cyfreithiau newyddion a ffurfiwyd, a gwelir hyn yn amlwg iawn. Yr oedd gwaith mawr wedi cael ei wneuthur ychydig cyn esgyniad ein Brenines. Yn gynnar yn y ganrif hon y dilëwyd y *Conventicle Act*, a'r *Five Miles Act;* ac yn 1821, ar ol ymdrechfa galed, y dilëwyd y *Test* a'r *Corporation Act*, yr hon oedd yn cau yr Ymneillduwyr o bob swydd wladol. Yn ystod y deng mlynedd olaf cyn ei choroniad hi y gollyngwyd y caethion yn rhyddion â swm mawr, ond swm na wariwyd i well pwrpas erioed,—yr

estynwyd rhyddid i'r Pabyddion,—y pasiwyd mesur gwerthfawr y Diwygiad Seneddol,—y cafwyd mesur Cofrestriad Genedigaethau,—ac y rhoddwyd cenad cyfreithiol i'r Ymneillduwyr briodi yn eu haddoldai eu hunain. Chwi a welwch beth oedd cyfeiriad pendant yr holl gyfnewidiadau hyn yn nghyfraith y wlad. Ac yn ystod y teyrnasiad presennol ffurfiwyd cyfreithiau pwysicach fyth ar yr un llinell o ryddid gwladol a chrefyddol. Dilëwyd Deddfau yr Yd, a sicrhäwyd mantais ddirfawr trwy hyny i bawb sydd yn bwyta bara, boed gyfoethog neu dlawd. Eangwyd terfynau Ymneillduaeth yn nilëad y Dreth Eglwys, yn Agoriad y Mynwentydd, yn niddymiad Prawflwon y Prifysgolion, ac yn Nadgysylltiad yr Eglwys Wyddelig. Trwy y cyfnewidiadau hyn, bwriwyd i lawr rai o'r ffiniau cythruddol a wahanent rhwng y naill ddosbarth crefyddol a'r llall o ddeiliaid y Goron. Tuag at ddiddymu canolfur y gwahaniaeth rhwng Iuddewon a Chenedloedd yn y deyrnas, pasiwyd deddf Gollyngdod i'r Iuddewon, a gwnaed y diweddar a'r hirhoedlog Moses Montefiore yn farchog—yr Iuddew cyntaf erioed a anrhydeddwyd yn y ffordd yma yn Lloegr. Pan oedd y Frenines yn dra ieuanc arferai fyned gyda'i mam, y Duges Kent, i le ar làn y môr, yn neheubarth Lloegr, a elwir Ramsgate. Yno yr oedd gan yr Iuddew a nodais, balas a gerddi godidog o'i ddeutu. Ar ol blino ar y tywod, arferai Victoria yspïo dros fwlch yn y mur i mewn i'r gerddi. Pan ddeallodd Montefiore hyn, rhoddodd allwedd aur iddi fedrai agor drws bychan, gyda gwahoddiad iddi i fewn i'r gerddi pan y mynai. Yn fuan ar ol esgyniad y Frenines i'r orsedd, etholwyd perchenog y gerddi yn Sheriff Llundain, ac ar ei hymweliad â'r brifddinas, gwnaeth ei Mawrhydi ef yn farchog. Dywedir fod allwedd aur yn agor pob clo; modd bynag, bu allwedd Syr Moses Montefiore yn foddion yn y pen draw i agor drws llydan i'r Iuddewon yn y deyrnas hon, fel y rhoddir iddynt yn awr ran yn holl freintiau dinasyddiaeth Brydeinig. Ac nid oes gwell dinasyddion na meibion Israel yn y Deyrnas Gyfunol. Disraeli yr Iuddew

oedd ffafryn ein penadur, yn y swydd o brifweinidog, ac ni chollodd yr un cyfleusdra i'w anrhydeddu.

Dan y teyrnasiad presennol ffurfiwyd amrywiol gyfreithiau dyngarol, i fyrhau oriau llafur, amddiffyn iechyd a rhinwedd y rhyw fenywaidd, achlesu a meithrin plant amddifaid, yn gystal â'r ddeddf a basiwyd i noddi y gwan rhag gorthrech y cryf, trwy drefnu pleidleisiad dirgelaidd. Lluniwyd amrai gyfreithiau newyddion hefyd sydd yn dwyn perthynas hanfodol gyda moesoldeb y wlad, heblaw y mesur i gau tafarndai ar y Sabboth yn yr Iwerddon a Chymru. Er y cwynir, ac nid heb achos, am na fyddai cyfraith y wlad yn fwy perffaith a chyflawn nag ydyw, eto a'i chymeryd fel y mae, dylem fod yn ddiolchgar iawn am ein breintiau gwladol fel Prydeiniaid o dan ei nawdd; ac am y gwelliantau pwysig a gwerthfawr a wnaed ynddi yr hanner can' mlynedd diweddaf dylem gyfodi maen coffadwriaeth mewn lle amlwg, a'i alw Ebenezer, a dywedyd, "Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni."

## VI.

Ni ddylid terfynu y bregeth hon heb gydnabod llaw Duw yn hanes CREFYDDOL ein gwlad yn ystod yr hanner can' mlwyddiant a ddathlir heddyw. Dyma ddylai fod y penaf peth y dydd heddyw. Os cofiwn mai dyn ydyw canolbwnc masnach, addysg, a chyfoeth, oblegid mai o'i anghenion ef y cyfodant oll,—anghen holl anghenion dyn yw crefydd Crist. Gwir mai o'i anghenion corfforol y cyfyd darbodion iechyd a holl gyfundrefn masnach,—mai o'i anghenion meddyliol y tarddodd moddion addysg a chynnyrchion y wasg,—ac mai yn ei gydwybod ei hun y cafodd dyn feddylddrych am iawnder a threfn sydd wedi ymddadblygu mewn rhestr o gyfreithiau, ustusiaid, a cheidwaid heddwch, barnwyr a chyfreithwyr, dau dŷ o senedd a llys breninol, a phob peth arall sydd mewn bod i reoli ac amddiffyn personau a meddiannau.

Ond y mae gan y creadur hwn, dyn, enaid anfarwol sydd â'i anghenion yn lletach a mwy parhaus na'r holl bethau crybwylledig ynghyd, anghenion na ddichon dyfeisiau celfyddyd a darganfyddiadau gwyddoniaeth, nwyddau masnach, eithaf diwylliant a chyfraith ynghyd, eu diwallu. Cyfyd prif anghen yr enaid yma oddiar y ffaith ei fod yn bechadur. Y mae dyn wedi ei eni mewn pechod, ac yn wreiddiol euog a llygredig; a gwaeth na hyny, y mae yn euog o bechodau gweithredol sydd yn croni digofaint Duw fel cwmwl uwch ei ben. Y canlyniad yw, nid yn unig fod dyn mewn anghen crefydd—sef Duw i'w addoldi a'i fwynhau—ond fod yn rhaid i'r grefydd hono gynnwys iachawdwriaeth iddo oddiwrth bechod, cyn y dichon wasanaethu y Duw byw. Gwir yw fod ei natur ysbrydol yn hiraethu am Dduw, am y Duw byw; ond gwaedd ddyfnach a chryfach na hwnw yw, "Pa fodd y cyfiawnheir dyn gyda Duw?" "Ys truan o ddyn wyf fi, pwy a'm gwared oddiwrth gorff y farwolaeth hon?" Dyma ddyfnder na fedr athrylith addysg ei ddadrys, trysor na ddichon holl fasnachaeth y ddaear ei brynu.

Ond yr hyn sydd anmhosibl gyda dynion sydd bosibl gyda Duw. Meddyliodd ef am danom feddyliau o hedd, ac yn ein hiselradd efe a'n cofiodd ni. Gwyddoch am y drefn—cyfiawnhau trwy faddeuant—maddeu er mwyn Crist, ar yr ammod o ffydd ynddo. Dileu y llygredd mewnol trwy eni dyn drachefn, a glanhâu oddiwrth bob anwiredd trwy waed Iesu Grist ei Fab ef. Adfer corff dyn trwy ei adgyfodi yn gorff ysbrydol, anllygredig ac anfarwol yn y dydd diweddaf. Mae y drefn fendigedig hon wedi ei dadguddio mewn llyfr bychan cyfoethog, rhadlawn, sydd yn iaith ac yn llaw pawb o honom—sef y Beibl. Cymhellir hi ar ddynion trwy bregethu, ac y mae ganddi ei swyddfa yn mherson yr Eglwys Gristionogol.

Y mae y grefydd hon, iachawdwriaeth yr efengyl, wedi gwneuthur gwaith mawr yn y deyrnas hon yn ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf. Ei hysbryd hi sydd wedi

lefeinio ein holl gorfforaethau cyhoeddus, ac yn cyfrif am y cynnydd a'r gwellad sydd yn sefydliadau, cyfreithiau a moesau y bobl. Un o'r dygwyddiadau mwyaf gogoneddus dan deyrnasiad Victoria oedd y cynghor hedd a benodwyd i ddwyn cyflafareddiad yn lle rhyfel yn achos yr "Alabama," flynyddau yn ol. Ond beth oedd hyny namyn effaith crefydd Tywysog tangnefedd? Yn ystod y deng mlynedd diweddaf o'i theyrnasiad, y mae troseddiaeth wedi lleihau yn ol 36 y cant, meddwdod 24 y cant, ac fel canlyniad naturiol y ddau, lleihaodd tlodi yn ol 33 y cant. Dyry ein Penadur esiampl ddifai i'w deiliaid oll mewn purdeb, diwydrwydd, symledd calon a chrefyddolrwydd ysbryd; a bernir gan rai a ddylai wybod, ei bod yn wir ddychweledig yr Arglwydd. Mae pendefigion y wlad yn llawer sobrach eu harferion, a mwy o honynt yn bobl dduwiol yn awr, nag oeddynt 50 mlynedd yn ol. Gwyn fyd na lwyr ddileid y gwahanglwyf cymdeithasol sydd eto yn ysu fel cancr mewn rhai cylchoedd moethus yn y deyrnas. Ond hyd yn nod yn hyny, gwell, ïe, llawer gwell, ydyw pethau yn awr nag y buont er dyddiau y Puritaniaid. Gwnaed cynnydd mawr hefyd yn ysbryd a gweithredoedd elusengarwch oleuedig, ac efengylaidd y wlad. Llïosogwyd ein hysbytai a'n hysgolion carpiog, sefydlwyd *training ships* gyffelyb i'r "Clio" sydd ar gulfor Menai, ac y mae ôl dwylaw trugarog yr efengyl ar elusendai a charchardai y wlad.

Y mae yr efengyl yn llwyddo hefyd yn ei gwaith uniongyrchol o achub eneidiau dynion. Dro yn ol gwnaeth anffyddiwr yn America sylw fod Cristionogaeth yn colli tir yn y wlad fawr hono. Parodd hyny i rywrai wneuthur ymchwiliad i'r mater, a'r canlyniad ydoedd cael allan, mor bell ag y dichon ystadegau eu gwasanaethu, fod Cristionogaeth wedi cynnyddu yn y Talaethau Unedig, yn ystod y pedwar ugain mlynedd diweddaf, bron gymaint dair gwaith a chynnydd y boblogaeth. A meddylier am Brydain Fawr, pwy a all ddyweyd swm yr arian a wariwyd

ar grefydd, y llafur a dreuliwyd yn ei gwasanaeth, a nifer yr eneidiau a achubwyd drwy ei hymgeledd yn ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf, ar faes yr Ynysoedd Prydeinig yn unig? A pha faint o ddaioni a wnaed ac a wneir trwy offerynoliaeth ein Cymdeithasau Beiblaidd a Chenadol mewn gwledydd eraill, pwy a all draethu? Ymlaen y mae gwaith yr Arglwydd yn myned. Ni fu ei sefyllfa na'i ragolygon erioed cystal ag ydynt heddyw. Gwelais yn ddiweddar fod cynnydd Cristionogaeth yn ystod y can' mlynedd diweddaf yn fwy na'r holl ganrifau eraill ynghyd; modd bynag am hyny, gellid bod yn sicr mai yr hanner cant diweddaf a fu y mwyaf llwyddiannus o'r ddau, tu hwnt i bob cymhariaeth.

Hynodir y cyfnod dan sylw gan ganghenau newyddion o lafurwaith Cristionogol a sefydlwyd, a'r rhai hyny, gan mwyaf, o nodwedd ymosodol. Dyma gyfnod dechreuad a llafur cymdeithas y Gwŷr Ieuainc Cristionogol,—cyfnod cyfodiad Byddin yr Iachawdwriaeth,—cyfnod ymddangosiad Temlyddiaeth Dda, Byddin y Ruban Glas, a rhai o ffurfiau mwyaf effeithiol Dirwest; ac yn goron ar y cwbl, cyfnod dygiad allan Gyfieithiad newydd a diwygiedig o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Gyda phob ddyledus barch i'r tadau a'u rhagflaenorion, credwyf fod corff yr Eglwys Gristionogol yn awr yn fwy goleuedig a gweithgar, haelionus a defnyddiol, nag y bu erioed. Adeg dda i, ac ar, lawer o honoch chwi, fy nghyfeillion yn Bangor, yw blwyddyn y Jubili. Llawenychwn yn yr Arglwydd, ar gyfrif y deffroad gwerthfawr a gafwyd yma; ac nid hyny yn unig, eithr cymerwn olwg eang ar achos Duw gyda phob enwad drwy y deyrnas a'r byd; ac yn yr ystyriaeth o'r cynnydd a fwynhawyd yn holl amgylchiadau y deyrnas, ac yn enwedig yn ei sefyllfa foesol a chrefyddol yn ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf, i ddathlu y Jubili trwy gyfodi y maen cymhorth rhwng Mispah a Sen, a'i alw yn Ebenezer, gan ddywedyd âg un llef, "Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni." Amen.

## NODIADAU LLENYDDOL.

PREGETHAU *ar wahanol achosion gan y Parch. John Wesley, M.A. Y Gyfres Gyntaf. Bangor, Cyhoeddedig yn y Llyfrfa Wesleyaidd,* 1887. *Pris pum' swllt.*

DYMA yr argraffiad newydd a addawyd er ys talm o amser bellach, o bregethau safonol ein sylfaenydd. Cynnwysa dair ar ddeg a deugain o bregethau wedi eu hargraffu mewn llythyren eglur, yn rhwym mewn llïan cryf a destlus am bum' swllt. Mae holl bregethau argraffedig yr awdwr yn gant ac un a deugain mewn rhifedi, ac yn cael eu trefnu mewn pum' cyfres wahanol. Y gyfres gyntaf yn unig a geir yma. Gelwir y gyfres hon yn bregethau safonol, oblegid mai hwy a'r Nodiadau ar y Testament Newydd sydd yn cyfansoddi safon athrawiaethol y Cyfundeb Wesleyaidd. Dysgwylir i bob pregethwr cynnorthwyol a gweinidog fod yn gyfarwydd ynddynt, a da fyddai i'n holl flaenoriaid a'r aelodau fod felly hefyd.

Cyhoeddwyd y Pregethau hyn y waith gyntaf yn y Gymraeg yn y flwyddyn 1833—36, mewn un gyfrol wyth blyg; y cyfieithiad gan y Parch. Edward Jones, gynt o Lantysilio. Dygwyd hwynt allan ar y cyntaf mewn pedwar ar hugain o rifynau chwe' cheiniog yr un. Cynnwysa y gyfrol yn y ffurf hono dros wyth gant o dudalenau, a gwerthid hi yn rhwym mewn lledr am bymtheg swllt. Rhaid fod cryn lawer o ysbryd darllen yn mhlith ein pobl hanner can' mlynedd yn ol, cyn y buasai yn bosibl cyhoeddi cyfrol o'r maintioli yma gan yr enwad yn Nghymru yr adeg hono. Gwerthwyd y gwaith yn llwyr er ys blynyddau, ac yr oedd galwad barhaus am dano, a dim copi i'w gael am arian.

Y mae yr argraffiad newydd "wedi cael ei ddiwygio yn ofalus, a chredaf nad gormod fyddai dyweyd ei fod wedi ei wella hefyd i fesur mawr o ran cywirdeb ac ystwythder iaith." Argraffwyd ef hefyd mewn llythyren eglur ar bapyr da, a hyny mewn ffurf hylaw a rhadlawn, fel y mae yn cael ei gynnyg am y swm bychan o goron—y drydedd ran o bris yr argraffiad cyntaf. Y mae y rhwymiad yn gryf a buddiol.

Gyda golwg ar y Pregethau eu hunain, yr wyf yn addef gyda diolchgarwch fod y sylw manwl a roddais ynglŷn â'r llafur o ddiwygio y cyfieithiad wedi bod i mi yn foddion o ras. Mae eu hymdriniaeth bynciol yn deg, eglur, a gwir feistrolgar, ac ar grefydd y galon nid wyf yn gwybod am ddim hafal iddynt. Parai darlleniad ystyriol a chyffredinol o honynt gyfnod newydd yn hanes Wesleyaeth yn Nghymru. Arferai y diweddar Mr. Sumner *(Happy Ned)*, esgob y *cabmen* yn Liverpool, ddarllen pregeth o waith John Wesley bob bore y peth cyntaf ar ol ei forefwyd, drwy y blynyddoedd, a'i dystiolaeth ef ydoedd fod yr arferiad yn cyfrif ymhell am ei lwyddiant yn ngwaith yr Arglwydd, yn ogystal ag am ei gynnydd personol mewn gras. Ac nid efe yw yr unig un a brofodd y fantais o fyfyrio hanes a phregethau ein sylfaenydd galluog a duwiolfrydig.

J. E.

# XLII.

## CYNGHOR PAUL I'R GWRAGEDD.

"*Bod o'r hynafgwyr yn sobr, yn onest, yn gymmesur, yn iach yn y ffydd, yn nghariad, mewn amynedd: bod o'r hynafwragedd yr un ffunud mewn ymddygiad fel y gweddai i sancteiddrwydd; nid yn enllibaidd, nid wedi ymroi i win lawer, yn rhoddi athrawiaeth o ddaioni; fel y gallont wneuthur y gwragedd ieuainc yn bwyllog, i garu eu gwŷr, i garu eu plant, yn sobr, yn bur, yn gwarchod gartref, yn dda, yn ddarostyngedig i'w gwŷr priod, fel na chabler gair Duw. Y gwŷr ieuainc yr un ffunud cynghora i fod yn sobr; gan dy ddangos dy hun ymhob peth yn ensampl i weithredoedd da.*"—TITUS ii. 2—7.

YN y paragraph hwn dyry Paul restr o'r dosbarthiadau amrywiol sydd yn cyfansoddi cymdeithas; sef "hynafgwyr, hynafwragedd, gwragedd ieuainc, plant, gweision," &c. Y mae pawb o honom, a phawb sydd yn y deyrnas, o'r Frenines ar ei gorsedd hyd at y baban a ymddangosodd ddiweddaf ar y ddaear, yn cael ein cynnwys yn y naill neu y llall o'r dosbarthiadau hyn. Rhagdybir yma, fel yn holl ysgrifeniadau Paul, fod gwahaniaeth rhyngom a'n gilydd, o ran oed a sefyllfa; ac ni awgrymir dim yn erbyn y cysylltiadau neillduol ag y cyfeirir atynt. Pwy bynag a ddychymygodd mai buddiol fyddai lefelu cymdeithas, fel na fyddai un yn feistr a'r llall yn was; neu am gario pethau ymhellach fyth, ar yr un llinell o feddwl, gan attal a difodi y cysylltiadau sydd yn cydio cymdeithas wrth eu gilydd, y mae yn amlwg oddiwrth ıediad y Testament Newydd nad gwneuthur hyny ydyw

cenadwri neu ran o genadwri yr efengyl. Y mae hi yn parchu ein gwahaniaethau sefyllfäol fel pethau priodol, os nad anocheladwy; ac yn gwneyd defnydd o'n cysylltiadau cymdeithasol fel cyfryngau cyfreithlawn a manteisiol i gludo drwyddynt ei dylanwadau grasol oddiwrth un at y llall. Y mae yr efengyl mor bell oddiwrth amcanu difodi cysylltiadau cymdeithas fel mai ei hymgais hi yw puro cymdeithas drwy ei chysylltiadau.

A pheth mwy na'r rhestr o ddosbarthiadau cymdeithasol a geir yma, yw y desgrifiad a roddir o sefyllfa cymdeithas fel y dylai fod, ac fel y bydd pan gaffo yr efengyl arni ei dylanwad priodol. Darllenwn y testyn eto, "Bod o'r hynafgwyr"—dechreua gyda'r dynion, "yn sobr, yn onest," hyny yw, yn bwyllog, neu ddifrifol; "yn gymesur," hyny yw, yn gymedrol; "yn iach yn y ffydd, yn nghariad, mewn amynedd." Pe bae pob dyn deugain oed ac uchod yn dyfod i fyny â'r safon yma, gymaint dedwyddach a fyddent iddynt eu hunain, a chymaint hawddach i eraill a fyddai byw yn agos atynt. "Bod o'r hynafwragedd yr un ffunud," yn sobr, yn onest, &c., eithr yn hytrach nag ail adrodd y nodau hyn, bob yn un ac un, crynhoa yr Apostol y cwbl i fyny yn y frawddeg hon, "mewn ymddygiad fel y gweddai i sancteiddrwydd." "Nid yn enllibaidd," nid oedd y dosbarth pwysicaf o wragedd, sef yr hynafwragedd, i gael cenad gan Paul hyd yn nod i hel straes; "nid wedi ymroi i win lawer,"—pechod penaf hynafwragedd Creta; "yn rhoi athrawiaeth o ddaioni," neu yn ol y cyfieithiad diwygiedig, yn dysgu yr hyn sydd dda; "fel y gallont wneuthur" neu hyfforddi, y gwragedd ieuainc; "yn bwyllog," yn dda eu tymher; serch fod y gwŷr yn afresymol, y plant yn groesion, y llestri yn cael eu tori, a'r gwynt o'r dwyrain, bod yn bwyllog ydyw y cynghor ysgrythyrol. "I garu eu gwŷr, i garu eu plant, yn sobr, yn bur," hyny yw, "yn ddiwair, yn gwarchod gartref," neu weithio gartref, y mae pob un o honynt yn rhwymedig arnoch, wragedd ieuainc. Nid gwastraffu amser i hel tai, na cholli

amser mewn bywyd segur a diwaith yn eich tai eich hunain. Ai tybed y rhoddir digon o sylw i'r pwys o ddwyn y gwragedd ieuainc i fyny yn *housekeepers* da? Cyfranir addysg dda iddynt yn nghanghenau gwahanol gwybodaeth, a hyfforddir rhai o honynt yn y celfau cain; portreadant liwiau yr enfys ar y canfas, a dyhidlant odlau cân o dannau offeryn cerdd; ond ai tybed yr arferir gofal dyladwy i'w dysgu i warchod a gweithio fel ag i fod yn *housekeepers* da? "Yn dda," nodir hwn fel rhinwedd ar ei ben ei hun; "yn ddarostyngedig i'w gwŷr priod," gan gofio o hyd mai y gŵr yw pen y wraig, "fel na chabler gair Duw. Y gwŷr ieuainc yr un ffunud, cynghora i fod yn sobr; gan dy ddangos dy hun ymhob peth yn ensampl i weithredoedd da." Yr oedd bugail yr eglwys i fod yn siampl yn y pethau hyn oll i bobl ei ofal.

"Cynghora weision hefyd i fod yn ddarostyngedig i'w meistriaid eu hun, ac i ryngu bodd iddynt ymhob peth." Er nad oedd y gweision hyn namyn caethweision, na'u meistriaid hwy ond caethddalwyr, eto cynghor Paul iddynt ydoedd "rhyngu eu bodd ymhob peth; nid yn gwrthddywedyd," nid ateb y meistr yn chwyrn nac yn chwerw; "nid yn darnguddio," mewn achos o eiddo na llafur; nid gweithio yn galed, nes i'r wyneb gochi ac i'r gwythïenau sefyll allan fel llinynau ar y talcen tra byddo y meistr gerllaw; ac yna codi cefn, sefyll ar yr erfyn a rhifo y llongau ar y culfor, a segura wedi i'r meistr droi ei gefn, "ond yn dangos pob ffyddlondeb da." Nid oes yn yr epistol hwn air o gynghor i'r meistriaid, dichon nad oedd y bobl fawr wedi dychwelyd yr adeg hono; trefn yr efengyl yw, "o'r *lleiaf* i'r mwyaf," dechreu yn y gwaelod. Ceir cynghor i'r meistriaid hwythau hefyd yn rhai o lythyrau eraill Paul, a gwesgir arnynt i fod yn brydlawn yn eu taliadau, yn gyfiawn ac yn garedig tuag at y rhai sydd mewn darostyngiad iddynt, gan gofio fod eu Meistr hwythau yn y nefoedd, ac y tâl efe i bob un yn ol ei weithredoedd.

Mor resymol yw gofynion moesddysg Cristionogaeth, ac mor ddedwydd fyddai cymdeithas pe wedi ei lefeinio yn drwyadl gan ei dylanwad! Pe na byddai sefyllfa ddyfodol, yn ol dysgeidiaeth yr efengyl; pe na byddai wir yr elfen oruwchnaturiol a honir sydd ynddi; pe na byddai angeu y groes yn iawn dros bechod fel y mŷn ei phroffeswyr, y mae yn werth dal gafael yn y grefydd Gristionogol ar gyfrif y cynllun o foesoldeb a ddadguddiodd i'r byd. Brysied y diwrnod pan fydd pawb o deulu dyn wedi dyfod i sylweddoli yn ymarferol gyfarwyddyd prydferth y paragraph hwn.

Yn hytrach nag wynebu ar holl faes y testyn a chynnyg gwasgu ei holl gynghorion ar yr holl ddosbarthiadau a gyferchir yma, cyfyngaf fy sylwadau heddyw at un dosbarth yn unig, sef y gwragedd, a hyny ar un rhinwedd yn unig, sef hwn, bod yn sobr. Nid gorchwyl hawdd sydd mewn llaw, ond anghenrhaid a osodwyd arnaf. Ië, pregeth i'r gwragedd fydd hon. Diau y caf fyned adref yn fyw. Pwy mor barod i wrando cenadwri o'r pulpud a'r gwragedd yma? Os bu oedfa erioed ag y gallai dynion gael cenad i gysgu ynddi, mi dybygwyf mai dyma hi; ond gormod fyddai eu cenhadu i gysgu yn hon ychwaith, ac nid oes nemawr o berygl y cymer hyny le. Y tebygolrwydd yw y bydd pob dyn sydd yma, a phob porth sydd yn ei ben yn llydan agored i wrando beth yw cynghor Paul i'r gwragedd.

Dichon y dylid nodi, cyn symud ymhellach, pa dir a gymerir wrth drafod y cynghor hwn. Ni raid i neb o'r gwragedd cymedrol yma frawychu, canys nid o safle llwyrymataliaeth yr edrychir ar achos sobrwydd heddyw. Buddiol ac anghenrheidiol iawn yw gwneuthur hyny ar adegau a drefnir i'r amcan hwnw, a da fyddai cael llais croewach ac uwch o'r pulpud ar ddirwest yn yr ystyr gaethaf i'r gair; eithr nid oedfa i'r pwrpas hwnw yw hon. Fe fu llawer, ac erys rhai eto, o ddynion a merched rhagorol, yn eglwys Crist—pobl sydd yn golofnau

dan yr achos, na fu blotyn du erioed ar eu cymeriad, ïe, rai o honynt yn y fasnach—nad ydynt yn perthyn i'r sect fanylaf o ddirwestwyr, nac yn cydolygu â rhai o honom ar y pwys o fod felly chwaith; ac ni fynem er dim yngan gair, na rhoddi achlysur i neb arall sibrwd sill a dueddai i'w gofidio nac anmharu eu henw da. Ennill pawb ac nid pellhau neb ydyw ein harwyddair yn y frwydr hon. Yr ydych oll yn cytuno i gondemnio meddwdod a'r arferiad o ymroi i win lawer; a sobrwydd mewn gwrthgyferbyniad i hyny yw pwnc y cynghor hwn. Gwneir *apeliad triphlyg at y gwragedd* yma am eu *cydymdeimlad a'u cydweithrediad*, yn y ffordd y barnont hwy oreu, *tuag at gael y wlad yn sobr.*

"Bod yn sobr" ydyw cyweirnod y paragraph hwn. Ar hyn y dechreua gyda'r hynafgwyr; yn hyn, yn gystal ag mewn pethau ereill, os nad yn fwy nag mewn dim arall, cynghora hynafwragedd yr un ffunud; y mae y gwragedd ieuainc hefyd i fod yn sobr; a chyda golwg ar y gwŷr ieuainc bod yn sobr yw yr unig gynghor a ddyry iddynt. Amlwg yw, mai hyn oedd benaf ar ei feddwl parthed pob oed a rhyw.

Gwyddom oll mai ystyr gyntaf y gair "sobr" yw pwyll, hunanlywodraeth, neu fel y darllena un "bod yn syber eu meddwl." Y cyflwr meddwl sydd yn cynnwys fod pob blys a chwant, pob syniad, teimlad a dewisiad dan lywodraeth rheswm, ac yn berffaith gyson gyda chyfarwyddyd cydwybod. Bywyd o gadw yr anifail dan draed, bywyd o rodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd. Hyn yn ddiau ydyw ystyr briodol y gair dirwest, a'r ffurf fwyaf cynnwysfawr ac uwchaf arni. Cynnorthwyo pobl, merched a dynion, i gyrhaedd y sefyllfa fendigedig hon, yw amcan terfynol pob ymdrech a wneir gydag achos sobrwydd. Gwyddom hefyd yr arferir y gair ar lafar gwlad mewn ystyr gyfyng a darnodol i ddynodi yr hyn sydd wrthgyferbyniol i "ymroi i win lawer," ac yn yr ystyr boblogaidd yma, y cymhwysir y gair yn bresennol wrth gynghori y gwragedd i fod yn sobr.

I.

CYNGHORA WRAGEDD I FOD YN SOBR AR GYFRIF EU DYLANWAD AR EU GILYDD.

Craffwch ar y bedwaredd adnod, ac yn enwedig ar y ferf yn y rhan gyntaf o honi, "Fel y gallont wneuthur," yn ol y Saesonaeg, fel y gallont ddysgu y gwragedd ieuainc i fod, &c.; y meddwl yw, fod syniadau ac esiamplau yr hynafwragedd yn dysgu, neu yn gwneuthur, yn gwneuthur trwy ddysgu, y gwragedd ieuainc, yn debyg iddynt eu hunain. Rhagdybia yr Apostol yn yr oll fod gan wragedd ddylanwad mawr ar eu gilydd, yn enwedig fod gan hynafwragedd ddylanwad ar wragedd ieuainc.

Cyfleir y dylanwad hwn, yn *mlaenaf*, trwy gyfrwng y ffaith eu bod yn *gymydogesau i'w gilydd.* Dan ambell gronglwyd trigiana dau deulu gyda'u gilydd,—teulu ieuanc gyda hynaf-deulu. Tra y mae y gwŷr gyda'u gorchwylion, naturiol ydyw i'r gwragedd hyn gymdeithasu mwy na gwragedd cyffredin gyda'u gilydd; egyr ymddyddan rhyngddynt, tywalltant allan eu meddyliau, ac eisteddant weithiau ynghyd i fwyta ac yfed. Ieuanc a dibrofiad, ehud ei barn a hawdd ei pherswadio, yw un, tra y mae y llall yn hirben a phrofiadol ac yn alluog i'w dysgu a'i gwneuthur—fel y mae y crochenydd yn gwneuthur y clai —bron yr hyn a fyno.

Ac os nad yn gymydogesau trwy fod ar yr un aelwyd, y maent felly trwy fyw yn agos i'w gilydd mewn tref neu wlad. Yn y dref, lle yr ydych chwi yn byw, mae rhyw wraig yn y drws nesaf neu ar yr ochr arall i'r heol ag yr edrychwch arni fel cymydoges. Ac yn y wlad, amaethyddol a theneu ei phoblogaeth, lle yr ydych chwithau yn cartrefu, y mae acw ddwy wraig amaethdy sydd yn cyrchu i'r un dref marchnad, weithiau yn yr un cerbyd, yn gyffredin gyda'u gilydd; addolant yn yr un capel; ymwelant y naill â thŷ y llall; ac nid anfynych y treuliant brydnawn yn nghymdeithas eu gilydd. Cyrcha

amrai o'r gwragedd hyn at eu gilydd yn achlysurol i'r un lle, i gyfeillachu a gwledda. Pan gwrddwn ni, y dynion yma, gyda'n gilydd, dan amgylchiadau felly, yr ydym yn chwannog o fod yn llawen a siaradus; a chofiwch mai chwïorydd i ni ydych chwithau y gwragedd yma, ac nid rhyfedd pe dygwyddech chwithau fod yn siaradus ar adegau felly. Ond y mae gan y siarad yna ei ddylanwad, yn enwedig pan gyfnerthir y siarad gan esiampl; a dylanwad fydd yn penderfynu gyrfa bywyd a thynged dragywyddol rhai o'r gwragedd ieuainc sydd o fewn y cylch. Rhodded Duw i chwi farn gywir a chydwybod dyner gyda golwg ar fod yn sobr dan amgylchiadau fel hyn, pe na byddai ond ar gyfrif eich dylanwad ar eich gilydd fel cymydogesau.

Ond y mae yna gwlwm tynach a pherthynas nês a thynerach na'r un a nodwyd i gludo dylanwad gwragedd ar eu gilydd, sef *cwlwm perthynas naturiol.* Mae llawer o'r gwragedd ieuainc hyn yn ferched, neu yn ferched yn nghyfraith, yn wyresau, neu yn nithoedd, i'r hynafwragedd, ac ar y tir agos ac anwyl hwnw o fewn cyrhaedd eu dylanwad, yn ei ffurf effeithiolaf. Pwy o honoch chwi, y plant yna, a ŵyr am yr adnod ganlynol, "Wele, pob diarhebydd a ddiarheba am danat, gan ddywedyd, Fel y fam y mae y ferch." Mor wir yw yr egwyddor sydd yn y ddiareb. Mewn mân bethau, megys yn ei dull o drefnu ei thŷ, arlwyo i'w thylwyth, croesawu dyeithriaid, mewn diwyg, mewn tymher, llais ac osgedd, fel y fam y mae y ferch. Barn y gymydogaeth yw na fydd y fam farw tra y byddo y ferch yn fyw, gan mor debyg ydynt i'w gilydd, mewn pethau bychain ac allanol. Pe gwyddech fwy am danynt, canfyddech nad yw yr allanolion hyn namyn dangoseg egwan o debygolrwydd dwfn a hanfodol, mewn arferion pwysig o foes a chrefydd, sydd wedi disgyn i'r ferch oddiwrth y fam. Disgynant eto oddiwrth y fam ieuanc i'w merched hithau, ac oddiwrthynt hwythau i genedlaethau lawer. Sonir llawer am gyfrifoldeb y

*signalman* sydd yn gweithio y *levers* gloewon yn y *box* ar ochr y ffordd haiarn; ac nid heb achos. Os cyflawna ei waith yn wyliadwrus, ceidw y *points* yn eu lleoedd, hyfforddia y gerbydres yn uniawn, a diffyna fywydau lawer; ond os cyll ei sobrwydd meddwl, try y trosol chwith a gŷr gerbydau llwythog o deithwyr o'r *line* yn erbyn y *siding*, neu yn erbyn eu gilydd i gael eu malu yn chwilfriw, yn deithwyr ac yn gerbydau. Ond y mae gan ambell hen wraig mewn cylch teuluol—hynafwraig anffaeledig ei barn, ddofn ei hargyhoeddiadau, rymus ei chymeriad, a galluog i ddyweyd y drefn,—fwy o ddylanwad, ac mewn canlyniad fwy o gyfrifoldeb na'r *signalman* mewn cyfeirio gyrfa y gwragedd ieuainc priod a dibriod sydd o fewn cylch perthynas naturiol iddi, ar y mater ofnadwy bwysig hwn. Os ymollynga gyda gogwyddiad y cnawd mewn syniad neu esiampl, y tebygolrwydd yw y troir rhai o'r gwragedd ieuainc yna o'r ffordd, ac y byddant hwy a'u perthynasau yn melldithio ei henw pan fydd ei hesgyrn yn pydru yn y bedd. Ar y llaw arall, os dyry athrawiaeth o ddaioni, fel y gallo wneuthur y gwragedd ieuainc yn sobr, erys ei choffadwriaeth yn fendigedig gan y teulu yn oes oesoedd.

Cyn gadael y penawd hwn, a gaf fi appelio at ddosbarth o hynafwragedd sydd yn ein gwlad, rai o honynt yn y gynnulleidfa, ag y mae ganddynt lawer i wneyd gyda'r gwragedd ieuainc yn y mater hwn, mewn adegau o'r pwys mwyaf yn eu bywyd. Yr wyf yn golygu y gwragedd a elwir i fewn at y gwragedd ieuainc pan fyddo y babanod yn nodedig o fychain. Hynafwragedd o werth mawr i deuluoedd, ond gwragedd, rai o honynt, sydd yn ymroi i win lawer, ac yn ol cynghor rhyw hen feddyg a fuasai farw cyn agoriad y *Temperance Hospital* sydd yn credu mewn diod feddwol fel meddyginiaeth, yn rhoddi dognau cryfion o honi i'r claf, a hyny am gyfnod digon maith nes i ambell wraig ieuanc a fagwyd yn ddirwestol, gael blas ar yr arferiad ac ymollwng i ormodedd weddill

ei hoes. Dri mis yn ol, yr oedd y wraig ieuanc yn nodedig am ei sobrwydd a'i thynerwch, ond yn awr ar ol bod dan law y fydwraig oraclaidd yn yfed physig (?), hi a gyfyd oddiar ei chlaf-wely, nid yn fam dyner i'w phlentyn ac yn amgeledd gymhwys i'w phriod, ond yn falldod ac yn felldith i bob un o'r ddau. Dichon y dywed rhyw un, nad yw pregethu fel hyn yn deilwng o urddas y Pulpud. Urddas y Pulpud yn wir! Os oes rhywbeth a gamenwir "urddas" neu arall a berthyn i'r pulpud sydd yn ymwthio rhwng y pregethwr a'r bobl, yn tori min ei genadwri ac yn tueddu i iachau briw merch fy mhobl yn ysgafn, aed urddas y Pulpud i bedwar gwynt y nefoedd.*

## II.

*Cynghora wragedd i fod yn sobr* AR GYFRIF EU DYLANWAD AR Y PLANT.

Un o agweddau mwyaf pruddaidd meddwdod yn Lloegr yw ei gynnydd ymhlith y *merched.* Nis gellir teithio ar ben y *'bus* ar awr ddiweddar o'r nos, ac edrych trwy ffenestri llydain a drysau agored tafarndai Llundain a Lerpwl, heb ganfod engraffau poenus o hyn. Y fath nifer o ferched o bob oed sydd yn sefyll wrth y *counter* neu yn eistedd ar y fainc sydd dan y ffenestr i yfed yn gymysg â'r dynion! Gwelir hynafwragedd penwyn ac oedranus, ar eu goreu yn medru sefyll ar eu traed;—mamau gyda babanod yn eu breichiau, yn llygru llaeth y fron, ac weithiau yn tywallt breci y tafarnwr i gylla tyner y baban bach;—merched ieuainc mor brydweddol a thrwsiadus a neb sydd yma, a fagwyd yn dyner gan rywun, o leiaf rai o honynt, gydag osgedd ddigywilydd yn nghanol dynion trwyngoch a digymeriad i yfed a meddwi. Ac nid dyna y cwbl. Nid disail yr ofnau fod rhai gwragedd sydd hyd

* Tra yn parotoi y bregeth hon i'r wasg, daeth gwaedd i'm clustiau o dŷ heb fod ymhell, sydd yn dangos fod achos i rywun lefaru yn groch ar y mater hwn.

yn hyn uwchlaw *vulgarity* o'r fath yna, mewn cylchoedd parchusach, yn euog ar adegau, mwy-fwy mynych, o ymroi i win lawer. Ië, fy nghyfeillion, dyna sefyllfa pethau yn ninasoedd mawrion Lloegr. Pa fodd y mae yn Nghymru, goreu y gwyddoch chwi. Y mae arnaf fi ofn holi. Yr wyf wedi traddodi y bregeth hon mewn amryw fanau, ac ar derfyn yr oedfaon heb un eithriad, wedi clywed ei bod yn bregeth amserol a gwir anghenrheidiol.

Er mor dderbyniol i bregethwr pruddglwyfus yw gair o annogaeth a diolch ar derfyn oedfa, y mae y diolchiadau a dderbyniais am y bregeth hon wedi llenwi fy nghalon â thristwch. Duw a drugarhao wrth ein hanwyl wlad!!

Ffaith arall yn hanes diweddar meddwdod y deyrnas hon, a ffaith yr wyf yn ofni sydd yn perthyn yn agos i'r un a nodwyd, yw fod yr arferiad yn cael ei ffurfio mor gynnar mewn bywyd. Yn y flwyddyn 1869, rhoddwyd *yr oed yn yr hwn y dechreua* anghymedroldeb yn ofyniad wrtho ei hun yn rhestr y cwestiynau a anfonwyd allan gan Bwyllgor Confocasiwn Talaeth Caergaint. Cyfeiriwyd yr ymholiad at glerigwyr y dalaeth hono, ac hefyd at farnwyr, trengholwyr, ustusiaid, arolygwyr gwallgofdai, llywodraethwyr a chapleniaid carchardai, prif swyddogion yr heddlu, ac ereill tebycaf o wybod y gwirionedd ar yr achos, yn Lloegr a Chymru; ac mewn atebiad, tystiolaeth y mwyafrif mawr yw, fod meddwdod yn dechreu yn yr oedran tyner a hyblyg, rhwng pymtheg a deunaw mlwydd oed. Hyd y gallwyf gael allan, nid yw hyn yn wir am ardaloedd amaethyddol, a mân drefi tawel Cymru, ond ofnwyf fod gormod o wirionedd ynddo gyda golwg ar weithfaoedd mawrion a threfi poblog y Dywysogaeth. Bernir gan rai fod llawer a fyno clybiau cyfeillgar; chwareuon mewn tafarndai, yn enwedig *billiards;* yfed diod feddwol amser cynhauaf, yr arferiad o ddanfon plant i'w gyrchu at wasanaeth pobl mewn oed, ei yfed yn eu gwydd brydiau bwyd, a'i gymhell ar y plant hefyd, lawer â hyn. Ofnir hefyd yr achlysurir ef gan y *raffles* a gynhelir mewn rhanau

o Wynedd. Afreidiol yw adrodd pa fodd. Modd bynag am y pa fodd a'r paham, ysywaeth dyma y ffaith, a chymeryd Lloegr a Chymru yn gyffredinol—bechgyn, ïe a genethod hefyd, rhwng pymtheg a deunaw mlwydd oed yn ymroi i win lawer, ac yn ffurfio yr arferiad o anghymedroldeb. Ow! y canlyniadau! Effeithir yn ddrwg ar yr ieuenctyd eu hunain. Yn un peth, tuedda i attal eu tyfiant. Peth arall yw ei fod yn planu hadau afiechyd o bob math yn eu cyfansoddiad. Tloda eu hamgylchiadau hefyd yn yr adeg y dylent ffurfio arferion o ddarbodaeth a chynnildeb. Caleda eu natur foesol a thuedda i'w gwreiddio mewn anystyriaeth ac annuwioldeb. Ac at y cwbl, ffurfia y ffaith o'r dechreuad cynnar hwn, brawf o debygolrwydd cryf y glynir wrth yr arferiad trwy gydol oes.

Ac i gymeryd golwg eangach ar yr achos; y mae yn amlwg fod anghymedroldeb a ffurfir yn more yr oes yn esgor ar fyrdd o anfanteision i'r wlad yn gyffredinol. Ar ein pobl ieuainc y dybyna dyfodol ein gwlad. Hwynt-hwy fydd gweithwyr, crefftwyr, masnachwyr, cyfreithwyr a meddygon, morwyr a milwyr, deddfwneuthurwyr a deddfweinyddwyr yr oes nesaf. Os bydd y genedlaeth hono o bobl ddyfodol ein gwlad yn ddosbarth israddol, ni ddichon y deyrnas hon gydymgais yn llwyddiannus gyda theyrnasoedd ereill y ddaear. Bydd nwyddau Prydeinig yn waelach na'r eiddynt hwy, a churir ni o'r *foreign market* yn llwyr; ac os eir i ryfel fe ddygir gwarth ar ein banerau gan filwyr meddwon a gwagsaw yr oes nesaf. Rhwng pob peth, lleiheir ein gallu gwladol, cyfyngir ein lle ar *fap* y byd; aiff *trade* allan ac arian i'w ganlyn; ac yn ein cydymgais â chenedloedd eraill y ddaear, fe droir ein gogoniant yn gywilydd, ac fel hen deyrnasoedd eraill a fuont unwaith yn gedyrn ond a ddirywiasant pan ymollyngasant i foethau, fe balla ein nerth oes ar ol oes, ac yn y diwedd derfydd am danom.

Pa beth a wneir? Rhaid cael diwygiad yn hyn. Y mae ein harcholl yn rhedeg liw nos, a gwaed goreu y deyrnas

yn cerdded. Pwy a ddylai ymyraeth? Pawb a all rywbeth. Deddfwneuthurwyr? Ië, os gallant. Cyn y gellir llunio cyfraith i'w attal, rhaid dyrchafu y syniad cyhoeddus yn llawer uwch nag y mae. Ysgolfeistriaid? Ië, os gallant droi goleuni gwyddoniaeth neu rywbeth i ddangos y perygl. Yr Ysgol Sul? Ië, â'i holl egni. Gwna hi ychydig, ond ychydig yw ar y goreu. Cyfanrif holl Ysgolion Sabbothol y deyrnas ydyw oddeutu pum' miliwn o eneidiau, ac y mae degau o filoedd o'r nifer hwnw yn bobl mewn oed. Ond y mae yn y deyrnas heddyw dros ddeng miliwn o bobl ieuainc a phlant, fel nad yw hanner ein hieuenctyd yn cael eu cyffwrdd gan yr Ysgol Sul; ac o'r pum' miliwn sydd dan ei gofal, nid oes uwchlaw un o bob pump yn llwyrym-attaliwr.

Pwy a ddaw i'r adwy? Beth am y gwragedd yma? Gallent hwy wneuthur mwy na phob moddion arall ynghyd, tuag at gyrhaedd yr amcan. Un o adnodau gwyddoniaeth ydyw yr hyn a elwir *deddf deilliaeth*, ac y mae hono yn allu pwysig yn llaw y mamau gyda golwg ar eu plant. A mwy na hyny yw dylanwad esiampl a chynghor yr aelwyd, ac ar y fam y dybyna hyny bron yn llwyr mewn naw teulu o bob deg. Yn achos ei fasnach neu ei ddiwrnod gwaith, gedy y tad y tŷ yn y bore cyn i'r plant gyfodi, ac ymneillduant i'w gwelyau yn yr hwyr cyn y dychwelo; ond am y fam mae hi gyda hwynt ar hyd y dydd, a phob gweithred, a gair ac edrychiad o'i heiddo yn dyweyd rhywbeth, er gwell neu er gwaeth, ar ddyfodol eu bywyd. Rhyfedd yw y dylanwad sydd gan y fam ar y plant, yn enwedig ar y bechgyn. At y tad yr ymwasga y genethod yn gyffredin, y bechgyn ydynt ffryndiau penaf y fam. Gymaint a feddylia yr hogyn bochgoch a direidus yna o'i fam! Parod yw i roddi ei fywyd i lawr dros ei fam! Serch ei fod yn cymeryd arno chwerthin ymaith ei chynghor yn ei gwydd, Duw yn unig a ŵyr beth yw ei effaith arno, pan êl o'i golwg i ryw gongl i lyncu y lwmp a gododd yn ei wddf, ïe, ymhen blynyddau ar ol ei chladdu hi. Famau, na

ddigalonwch am iachawdwriaeth eich bechgyn a hyfforddiwyd genych yn mhen y ffordd, pa olwg bynag sydd arnynt yn awr.

Adroddai gweinidog Saesonig engraff darawgar o hyn flynyddau yn ol. Y pryd hyny yr oedd dociau Lerpwl yn lle meddw iawn, ac o'r fath waethaf i anfon hogiau yno i weithio. Arferid eu danfon ar neges. Gwyddoch i ba le. Os amlygent gyndynrwydd, tywelltid diod feddwol i'w cylla trwy drais fel y caffont flas arni, ac i wawdio ardystiad y *Band of Hope.* Yr enw ar y traha hwn, oedd, "eu tori i fewn." Gadawyd gwraig yn weddw gyda bachgen bychan; gwnaed hi yn weddw gan afradlonedd ei gŵr. Penderfynodd ddwyn ei bachgen i fyny yn elyn i'r ddiod. Cymerodd ef i'r Ysgol Sul a chafodd ei enw ymhlith aelodau y *Band of Hope.* Ar ol cwblhau ei addysg ddyddiol cafodd le iddo yn y dociau. Yn fore ar ddydd Llun, gwelid y bachgen mewn siaced ffustion wen a glân, yn dechreu ar ei orchwyl. Ni fu yno yn hir y diwrnod cyntaf cyn i un o'r gwŷr sychedig hyny roddi llestr yn un llaw iddo a phres yn y llall, ac mewn llais awdurdodol orchymyn iddo, "*Dos.*" "Gwell genyf beidio myned," ebe yr hogyn, "oblegid yr wyf yn aelod o'r *Band of Hope.*" "*Band of Hope* y felldith," gwaeddai y dyn, "Dos." "Na," medd yr hogyn, "mae fy mam yn erbyn neges fel hyn." "Dy fam yn wir! pwy ydyw hi, hoffwn wybod. A wyt ti yn fab i'r Frenines Lloegr, y gelach bach? DOS." Ond mwyaf a bwysid ar yr hogyn, cryfaf oll ydoedd; yr oedd ganddo asgwrn cefn i'w gymeriad. "Felly," crochlefai y dyn yn ei wyneb, "ac nid äi di ddim ai ê? O! wel, rhaid dy dori i fewn ynte." Ar hyn, cydiodd yn ngwar y bachgen, daliodd ei droed mawr y tu ol i'w sodlau bach ef a thaflodd ef i'r llaid. Troes yr hogyn ar ei wyneb. Gwthiodd yntau ef drosodd ar ei gefn, a chan osod ei benlin ar ei ddwyfron eiddil, ceisiai dywallt diod feddwol i'w enau trwy drais. Ond trwy drugaredd yr oedd agoriad genau y bachgen o'r tu

fewn, a chydag egni merthyr bychan fe glodd ei wefusau rhag i ddafn fyned rhyngddynt. Wrth i'r dyn dywallt, llifai y ddiod hyd ddillad glân yr hogyn, ac ofer oedd eithaf pob perswâd a chreulondeb i agor cil y drws i ollwng dyferyn i'w gylla. Ar ol blino yn poenydio y creadur bach amddifad, a'i alw yn bob enwau cas, gollyngodd ef yn rhydd. Buan yr oedd y bachgen ar ei draed, bwriodd drem ar ei siaced wen oedd yn fudr gan laid, yna wedi sychu ei wyneb â'i lawes, gan syllu yn ngwyneb y dyn efe a ddywedodd, "*Os daru chi faeddu fy nillad i, fe ddaru chi fethu tori 'ngharitor i.*" Safodd y bychan hwnw at egwyddor y brophwydoliaeth a ddysgodd ei fam iddo.

Rhagdybia Paul yn y testyn mai effaith esiampl dda ar du yr hynafwragedd oedd gwneuthur i'r gwragedd ieuainc garu eu plant. Y gair nesaf at yr ymadrodd "caru eu plant," yw bod yn *sobr.* Ac y maent yn nesaf i'w gilydd mewn mwy nag un ystyr. A gaf fi eich cydymdeimlad o blaid sobrwydd er mwyn eich plant chwi eich hunain? Dyma ddadl a dylai gyrhaedd calon pob mam yn yr oedfa, a dyweyd y lleiaf. Os nad oes genych ofal am wragedd ereill, o berthynasau a chymydogesau, na chenych chwi yr hynafwragedd yma ofal am y gwragedd ieuainc er eu mwyn eu hunain, yr wyf yn erfyn er mwyn eu plant hwy; y plant—edrychwch arnynt, y bodau bychain anwyl!—ïe, yr wyf yn erfyn er mwyn y plant, cofiwch yr ymadrodd yma yn y cynghor, "*Bod yn sobr;* BOD YN SOBR."

## III.

CYNGHORA WRAGEDD I FOD YN SOBR AR GYFRIF EU DYLANWAD AR GYMDEITHAS YN GYFFREDINOL.

Os na fynegir hwn yn groew yn y testyn, y mae yn gasgliad eithaf teg a hollol ddiwad oddiwrtho, pe na chynnwysai namyn yr hyn a grybwyllwyd eisoes. Y

mae gallu y gwragedd yn ddirfawr. Gwell peidio galw gormod o sylw ato, onidê ni ddichon i'r dynion fyw hefo chwi rhagllaw. Galw sylw neu beidio, erys y ffaith yr un. Y mae genych allu aruthrol, wragedd o bob oed, priod a dibriod, i wneuthur da neu ddrwg. Bron na ddywedwn fod tynged byd ac eglwys yn eich dwylaw. Y mae llawer iawn o honoch; a chenych fwyafrif mawr ar y dynion. Gallu o bwys yw "the power of numbers." Y mae rhyw zel a phybyrwch nodedig yn perthyn i'ch holl symudiadau. "Y llestri gwanaf" y gelwir chwi yn gyffredin genym ni y dynion. Nyni, wrth gwrs, ydyw bodau pwysig y ddaear. Gan y dyn y mae yr ysgwydd gryfaf, y corff talaf, a'r ymenydd trymaf; ac y mae ymenydd ambell ddyn mor drwm fel na symudodd ond cyfran fechan iawn o hono erioed yn ei oes. Ië, siwr, nyni ydyw arglwyddi y greadigaeth, sydd wedi ein geni i deyrnasu, a mawr ydyw ein gofal am ein gorseddau. Ond rhaid i ni edrych ati, frodyr; oblegid mae Miss Ramsay yn nghylchoedd addysg, a Mrs. Booth yn y pulpud Cristionogol, yn ysgwyd hen golofnau *monopoly* oddidanom. Mae meddwl dynes mor gyflym, ei zel mor danbaid, a'i hysgogiadau mor bybyr, fel y gwneir y gwahaniaeth mewn nerth i fyny mewn cyflymder. Dyry dynes ddarn gwlad ar dân tra y bydd dyn—arglwydd y greadigaeth—yn cylymu carai ei esgidiau.

"The hand that rocks the cradle, rules the world."

Y wraig yw brenhines yr aelwyd, hi sydd yn teyrnasu dros y to sydd yn codi. Felly yr oedd pethau dro yn ol, fel mai yr hynafwragedd yma ydyw brenhinesau y tô presennol, y dynion fel y merched. Hawdd yw dyweyd mai y gŵr yw pen y wraig; ond yr hynafwraig ydyw y gwddf sydd yn troi y pen hwnw bron fel y myno.

Oni chydnabyddir gallu gwragedd yn ein gwlad? Ni pherthyn i'r pulpud draethu ar *politics;* ac heb wneyd hyny yn awr, gall nodi y ffaith, fod y naill blaid politicaidd

fel y llall yn talu gwarogaeth ddigêl i allu a dylanwad y merched. Tra y mae un ochr yn ceisio eu hudo â briallu, y mae gan yr ochr arall ryw abwyd neu gilydd i'w tynu ffordd arall; a phawb cystal ag addef mai yn eich llaw chwi, y gwragedd, y mae penderfynu tynged y wlad yn yr etholiad nesaf.

Gymaint a wneir gan wragedd yr eglwysi o blaid crefydd; mewn ymweled â'r claf a'r esgeulus, gweinyddu elusenau i'r tlodion, a chodi arian at achos yr Arglwydd, nis gellir mesur eu gwasanaeth. Tra y byddwn ni y dynion yma yn eistedd i lawr i fwrw y draul ynghylch dyled hen gapel neu y modd i adeiladu capel newydd, ac yn eistedd ambell dro mor llonydd nes cysgu blynyddau uwch ben yr achos, geilw y gwragedd bwyllgor o honynt eu hunain, etholant swyddogion, ffurfiant benderfyniadau, ac ar ol ysbaid ychydig o fisoedd, codir y lleni, hulir y byrddau, llusgir arglwyddi y greadigaeth i ffair sanctaidd rhwng bodd ac anfodd am ddiwrnod neu ddau, ac y mae y swm angenrheidiol i glirio yr hen neu godi y newydd wedi eu codi ac yn y banc. "Mewn gwaith edau a nodwydd y dygir hi ger bron y brenin." Eithaf gwir nad oes son am *bazaars* yn Llyfr yr Actau, ac nid yn y *bazaar* fel y cyfryw mae y dirgelwch. Zel y gwragedd ydyw yr esboniad am y cwbl.

Ac at y cwbl, y mae gan wragedd rhyw dueddfryd naturiol sydd yn eu harwain i gymeryd ochr rhinwedd a chrefydd. Addefaf fod Efa, ein mam ni oll, wedi colli y ffordd—a pha rhyfedd, nid oedd ganddi fam i'w rhybuddio—a thynu ei gŵr a'i holl hiliogaeth i brofedigaeth; ond tybygwyf fod ymddygiadau ein merched tuag at Adda yr ail wedi *redeemio* cymeriad y rhyw. Wrth ddarllen y Pedair Efengyl, a chanfod fod dynion yn euog o wawdio a gwrthod, difenwi a bygwth, taro ael a phoeri i wyneb, tynu blew cernau a fflangellu cefn anwyl, dal a chondemnio, croeshoelio a lladd yr Arglwydd Iesu; oni tharewir chwi â syndod wrth weled nad oes son am un ddynes, hen nac ieuanc,

dlawd na chyfoethog, wedi yngan gair na chodi pen bys i sarhau y Gwaredwr o gwbl. Ceir hanes am wragedd lawer yn garedig wrtho. Dynes oedd Mair ei fam, ac nid oedd derfyn ar ei chymwynasgarwch hi tuag ato. Dynes oedd Martha, a cheir ei bod hi yn drafferthus ynghylch llawer o bethau i'w groesawu i'w thŷ; a Mair, ei chwaer, dynes oedd hithau, yn dysgu ac yn addoli ar unwaith wrth ei draed. Ceir hanes gwraig yn golchi ei draed ef â'i dagrau ac yn eu sychu â gwallt ei phen,—gwraig yn bwrw ei holl fywyd i'r drysorfa,—a gwraig arall yn tori blwch enaint o nard gwlyb gwerthfawr, ac yn achub y blaen i'w eneinio erbyn dydd ei gladdedigaeth, tra yr oedd rhyw gybydd o ddyn yn gwarafun y gwastraff. Ië, pan arweiniwyd ef allan o Jerusalem i gyfeiriad Golgotha, a'i ael yn glais wedi i ddwrn rhyw ddyn ei daro, ei gernau yn waed wedi i law rhyw ddyn dynu y blew, a'i gefn bendigaid a gariodd feichiau miliynau ymhob oes yn gwysau gwaedlyd wedi i ryw ddyn â fflangell ei aredig, —ust! gwrandewch, mae gwragedd Jerusalem yn wylo o'i blegid. Ac yn ei awr gyfyngaf ar y groes, pan oedd yr haul wedi ei adael, bryniau Judea yn plycio wrth eu gwreiddiau i geisio ffoi oddiwrtho ar ol yr haul, a phob peth yn ymddangos fel pe i'w erbyn, glynai y gwragedd—Mair ei fam, a'r Fair arall, a'r Fair arall drachefn—wrth ei groes hyd y diwedd. Yr oedd dwy o'r gwragedd yn ei gladdedigaeth. A'r gwragedd oedd y rhai cyntaf wrth ei fedd y trydydd dydd. Aeth y dynion yno pan ddeallasant fod y maen wedi ei dreiglo a'r bedd yn wag—ïe, siwr, buan y daw dynion i'r golwg pan ddeallant fod yr anhawsderau wedi eu symud.

Ac yn nghyfarfod gweddïo y gwragedd y traddodwyd y bregeth Gristionogol gyntaf, ac y cafwyd y *convert* Cristionogol cyntaf yn Ewrop. Ar làn afon lle byddid arferol o weddïo, pan oedd y gwragedd yn cynnal cyfarfod, daeth Paul a Luc ar eu taith genadol heibio, ac a eisteddasant ac a lefarasant wrth y gwragedd a ddaethant ynghyd.

Yn eu plith yr oedd gwraig fawr o ddinas y Thyatiriaid, oedd yn Philippi ar fusnes, ac wedi troi i'r cyfarfod gweddi. Pan oedd Paul yn llefaru, disgynodd yr eneiniad nefol, rhedodd yr olew sanctaidd i hesbenau y clo, ymdaflodd barau oesol yn ol, ac agorodd calon Lydia yn y fan. Ac o'r dydd hwnw allan bu merched Ewrop ar y blaen yn croesawu ac yn gwasanaethu achos yr Arglwydd Iesu. Pwy mor ffyddlawn i'r seiat ar noson dywyll, mor gyson yn yr oedfa ar bob tywydd a'r gwragedd yma? Credwyf fod mwy o ferched duwiol yn Nghymru heddyw nag o ddynion, ac y byddant yn y mwyafrif ar ddeheulaw y Barnwr y dydd diweddaf.

A chydag achos sobrwydd, ni buont lawer ar ol yn yr amser gynt. Yr oedd a fynai gwraig o'r enw Mrs. Carlisle, o Dublin, â sefydliad y *Band of Hope* cyntaf gydag un Mr. Tunnicliffe, yn Leeds, yn y flwyddyn 1847, ddeugain mlynedd yn ol. Gymaint wnaeth y merched yn America o blaid sobrwydd, ac y mae eu chwïorydd wrthi yn brysur yn y deyrnas hon yn deisebu y Frenines am wyl i'r tafarnwyr ar y Sabboth yn Lloegr, er cof am hanner canmlwyddiant ei theyrnasiad. Ferched Cymru, a ddeuwch chwi allan yn rymus o blaid yr ymdrechion a wneir i sobri Cymru? Yr wyf yn pledio am eich cymhorth, er mwyn eich gilydd, er mwyn y plant, ac er mwyn cymdeithas yn gyffredinol. Os deuwch, gellir cyhoeddi buddugoliaeth ymlaen llaw, a dechreu rhanu yr yspail cyn darfod ymladd.

Ar ol y cwbl, na wnewch grefydd o sobrwydd. Derbyniwch Grist, cerwch Ef â'ch holl galon, ac yn eich holl gyflawniadau golygwch ei ogoniant fel eich dyben penaf. Amen.

## BRASLUN O'R PARCH. T. AUBREY MEWN CYFROL AMERICANAIDD.

"GANED y pregethwr hyawdl hwn yn Penycae, oddeutu deuddeng milltir o Ferthyr Tydfil, Morganwg, Deheudir Cymru, yn y flwyddyn 1808. Bu am ychydig yn yr Ysgol elfenol, eithr ni chafodd fanteision athrofa na choleg. Pobl dlodion oedd ei rieni, a gorfu iddo yntau weithio am ei fywioliaeth er yn ieuanc iawn. Yn melin rolio gwaith haiarn Merthyr y parhaodd i lafurio hyd nes y cyrhaeddodd oddeutu deunaw oed, pryd y dychwelwyd ef at grefydd o dan weinidogaeth y Parch. John Williams. Yn fuan wedi uno â'r eglwys dechreuodd bregethu, a derbyniwyd ef ar brawf i waith y weinidogaeth—yr oll mewn oddeutu wyth mis.

"'Pan adwaenais ef gyntaf,' ysgrifena un a'i hadwaenai yn dda, 'yr ydoedd oddeutu pump ar hugain mlwydd oed, yn rhyw bum' troedfedd ac wyth modfedd a hanner o daldra, ac yn bur deneu; esgyrn mawrion, gwallt llwyd-dywyll, ac o nerth cyhyrol mawr; ei lygaid o liw llwyd-dywyll, ac yn dra bywiog, cryfion, a threiddgar; talcen llydan, heb fod yn uchel, ac yn taflu allan gryn lawer, gyda bochgernau uchel iawn. Yr oedd ei lais y pryd hwnw, pan ddechreuai bregethu, yn hynod o debyg i lais merch; ond pan dwymnai ychydig, fel y gwnai yn gyffredin ymhen rhyw ugain mynyd, newidiai ei lais; ac ymagorai yn gryf, clir, a thra melodaidd, ac ymddangosai fel pe yn meddu llywodraeth hollol dros ei beiriannau cynhanu. . . . Y mae ganddo bersonoliaeth dra pharchedig. Y mae yn awr yn dew, a phwysai dros ddau gant o bwysi.'

"Y mae yn awr yn ei drydedd flwyddyn yn ninas Bangor, Gogledd Cymru. Ddwy flynedd yn ol etholwyd ef yn Gadeirydd y Dalaeth, yr hon sydd swydd o gryn bwysigrwydd.

"Dyn hunan-wneuthuredig yw Mr. Aubrey; nid y mwyaf dysgedig, ond, dybygid, y pregethwr Cymreig mwyaf hyawdl sydd yn fyw. Ychydig a ysgrifena; pregetha bob amser heb bapyr, a chyda grym anghyffredin. Y mae yn Sais da, yn dduwinydd uniawngred, ac yn ddyn o enaid mawr. Ymhlith ei frodyr gwanach, dywedir ei fod yn gwneyd ei hun yn gydradd â hwy; a phan ar yr esgynlawr, ymysg dysgedigion ac enwogion Seisonig, edrychid arno fel eu cydradd hwythau, ac yn uwch na llawer o honynt."

## NODIADAU LLENYDDOL.

HANES YR EGLWYS GRISTIONOGOL *drwy y byd o ddyddiau yr Apostolion hyd yn bresennol. Gan David Griffith, Dolgellau. Pris saith swllt. Argraffwyd gan O. R. Owen, Caernarfon.*

MAE hon yn gyfrol wythplyg, ac yn rhifo yn agos i chwe chant o dudalenau—o'r un plyg a maintioli a chyfrol o'r *Eurgrawn*. Ei hargraphwaith yn dda a'i rhwymiad yn gryf a golygus, ac y mae yn gyflawn werth y pris rhesymol a ofynir am dani. Y mae cynllun y gwaith yn hwylus ac i fesur yn newydd. Cyfleir hanes pob canrif yn gyflawn wrtho ei hun, ac y mae yn cynnwys crynodeb o ddygwyddiadau, sectau, a chymeriadau hynod y cyfnod hwnw, ynghyd a thaflen fer o amseriadau ar ddiwedd pob pennod. Dosrenir hanes pob canrif dan rifnodau, ar yr un egwyddor ag y byddai John Wesley yn trefnu ymdriniaeth ei bregethau argraffedig. Byr yw yr hanes o anghenrheidrwydd; ond y mae yn dra eang ei gylch a chyfoethog ei gynnwysiad. Nid yw yn agos mor helaeth a Hanes yr Eglwys gan David Morgan, Llanfyllin, ond yn fwy anmhleidiol a chatholig ei ysbryd, ac yn fwy cywir ei adroddiad o gryn lawer, dybygwn i, na'r gwaith llafurfawr hwnw. Rhagora hefyd ar gyfrol werthfawr Hugh Roberts ar Hanes yr Eglwys; a pha ryfedd? oblegid ei fod yn gynnyrch oes ddiweddarach, a'i awdwr wedi cael manteisio oddiwrth weithiau pwysig a gyhoeddwyd yn Nghymru a Lloegr yn y cyfamser. Gellir dyweyd yn ddifloesgni ei fod y llyfr goreu ar y testyn sydd yn yr iaith, ac nid wyf yn gwybod am yr un gwaith Saesonig o'i faintioli sydd cystal ag ef. Tra y mae yr awdwr yn amcanu bod yn deg ar bob canghen grefyddol mae ei lyfr yn hollol rydd oddiwrth y sawyr eglwysig sydd yn difwyno amrai lyfrau Saesoneg ar hanes yr eglwys. Y mae yr arddull hefyd mor ragorol a darllenadwy; pob gair yn ei le ac yn air eglur a gafaelgar; y brawddegau yn llyfnion, llawnion a gorphenedig; aml ffugyr tlws i fywiogi sylw y darllenydd, ac ambell ergyd effeithiol i guro yr hoelen adref, yn cael ei gweinyddu megys â morthwyl arian yn llaw gwir foneddwr mewn chwaeth lenorol a moesymddygiad. Rhoddir darlleniad eang i'r gyfrol werthfawr.

# XLIII.

## CRISTIONOGAETH YN HAWLIO BYWYD DUWIOL GAN EI PHROFFESWYR.

"*Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod; eithr yn fyw i Dduw, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd.*"
—RHUFEINIAID VI. 11.

FEL y mae yn hysbys i rai o honoch, fod dau esboniad pur wahanol i'w gilydd yn cael eu cynnyg gan dduwinyddion ar adnod ein testyn. Un ydyw y dylai credinwyr gyfrif eu hunain yn feirw i bechod mewn ystyr *gyfreithiol*, yn rhinwedd eu hundeb cyfammodol â Christ. Fel pe dywedasai yr Apostol, "Yr oeddech chwi yn Nghrist pan oedd efe yn marw ar y groes, ac yn rhinwedd yr undeb hwn yr oeddech chwi yn meirw i euogrwydd pechod yn ei farwolaeth ef yn achos pechod, fel mae holl hawliau pechod arnoch chwi wedi cael eu clirio am byth yn marwolaeth Crist ar y groes; ac mewn canlyniad yr ydych chwi yn fyw—yn gyfreithiol fyw i Dduw yn Nghrist Iesu. Cyfrifwch chwithau eich hunain felly, sylweddolwch y ffaith, a mwynhewch eich sefyllfa." Ond dichon yr ymddengys y golygiad hwn i lawer yn esboniad anfoddhaol ar y testyn,

Yn mlaenaf, o herwydd mai nid perthynas gyfreithiol credinwyr gyda phechod ydyw y pwnc sydd dan sylw yn y rhan hon o'r epistol. Er fod yr epistol hwn, fel holl gyfansoddiadau Paul, yn llawn o wyriadau *(digressions)*, eto nid yw yn amddifad o gynllun a threfn. A'r cynllun sydd ynddo o'r bennod hon i'w ddechreu sydd fel hyn. Dechreua trwy ddangos fod Cenedloedd ac Iuddewon mewn sefyllfa, fel nad oedd yn bosibl eu cyfiawnhau ond trwy "y cyfiawnder Duw" sydd "o ffydd Iesu Grist,"—dyna ydyw pwnc y ddwy bennod gyntaf. Wedi hyny y mae

yr Apostol yn egluro ac yn sefydlu yr athrawiaeth o gyfiawnhad trwy ffydd. Hyn yw defnydd y 3edd a'r 4edd bennod. Ar ol hyny arddengys ffrwythau uniongyrchol cyfiawnhad yn mhrofiad y cyfiawnhaol—dyma bwnc y 5ed bennod. Ac wedi hyny, yn ol y farn gyffredin, a chywir yn ddiau, rhag i neb gamddefnyddio yr athrawiaeth ó gyfiawnhad rhad drwy ffydd, dengys y dylanwad sanctaidd sydd yn gydfynedol â'r drefn hon o gyfiawnhau yn muchedd y cyfiawnhaol; a dyma yn ddiau ydyw pwnc y 6ed bennod, o'r hon y mae y testyn yn rhan. Yn awr, yn ol cynllun yr epistol, canfyddir mai pwnc y drydedd a'r bedwaredd bennod, ac nid y chweched, ydyw perthynas *gyfreithiol* credinwyr gyda phechod, sef pan yr ymdrinir â chyfiawnhad ei hun; ac fod agwedd yna y pwnc yn cael ei osod o'r neilldu gyda therfyn y bedwaredd bennod, i roi lle i'r Apostol egluro agweddau eraill iddo yn y pennodau dilynol. Pe buasai adnod y testyn yn rhan o'r drydedd neu y bedwaredd bennod, lle y mae perthynas gyfreithiol credinwyr yn cael ei drafod, buasem yn gorfod croesawu yr esboniad a nodwyd, ond gan mai yn nghanol y chweched bennod y mae—pwnc yr hon ydyw perthynas foesol credinwyr gyda phechod—mae dyfarniad synwyr cyffredin ar yr achos yn ein dirgymhell i'w wrthod.

Yn ail, yr ydym yn gwrthod yr esboniad hwn, am nad yw y golygiad cyfreithiol o farw i bechod yn gydsafol â dysgeidiaeth y cyd-destyn yn y bennod ei hun. Craffwch arno ol a blaen. Pe dechreuech trwy edrych yn ol—dyna yr wrthddadl a dybir yn yr adnod gyntaf, Beth a feddylir wrth "*drigo* mewn pechod," amgen na chyflawni pechod yn gyson? A beth yw trigo yn *wastad* mewn pechod namyn *parhau* i gyflawni pechod yn gyson; ond nid perthynas gyfreithiol â phechod ydyw hyny. Eto, i'r wrthddadl yna y rhoddir yr ateb nacaol yn yr ail adnod, "A ninnau wedi *meirw* i bechod." Ac os nad bod dan euogrwydd cyfreithiol a olygir yn y gofyniad, rhaid nad rhyddhad cyfreithiol oddiwrth bechod a feddylir yn yr atebiad.

A thybygem fod yr ymadroddion cyfystyr a ddefnyddir yn yr adnodau dilynol yn gosod y mater uwchlaw ammheuaeth, mai *marw yn foesol* i bechod trwy beidio ei wneuthur ydyw'r meddwl, ac nid bod yn gyfreithiol farw i'w euogrwydd yn nghysgod Meichnïydd. Neu pe edrychech ymlaen, pwy all ddarllen y geiriau, "Na theyrnased pechod yn eich corff marwol, i *ufuddhau* o honoch iddo yn ei chwantau;" "Na roddwch eich aelodau yn arfau anghyfiawnder i bechod, eithr *rhoddwch* eich hunain i Dduw, a'ch aelodau yn arfau cyfiawnder," heb weled mai marw yn foesol i bechod trwy beidio ei gyflawni, a byw yn dduwiol, ydyw pwnc yr adnodau oll? Yn awr, os marw yn foesol i lywodraeth pechod ydyw dysgeidiaeth y cyd-destyn ol a blaen, onid yw yr esboniad a ddeil mai marw yn gyfreithiol i euogrwydd pechod ydyw pwnc y testyn ei hun yn hollol annaturiol, ac yn diystyru un o egwyddorion pwysicaf deonglyddiaeth Ysgrythyrol?

Ac at y ddau, yr ydym yn anfoddlawn i'r esboniad hwn, yn y trydydd lle, oblegid ein bod yn methu gweled pa gyfaddasrwydd sydd yn y golygiad a gynnwysa i ateb dyben ysgrifeniad yr adnod. Tybed na chydnebydd pawb, mai i ddyben ymarferol yr ysgrifenwyd adnod y testyn, ac mai y dyben hwnw ydyw cael Cristionogion i fyw yn sanctaidd? Ond pa addasrwydd sydd yn y golygiad o farw yn gyfreithiol i bechod i ateb y dyben yna? Dyna fachgen i rieni cyfoethog yn ei afradlonedd wedi suddo i ddyled drachefn a thrachefn. Pe b'ai y tad yn dyweyd wrtho, "Cyfrif di dy hun yn farw i ofynion dy echwynwr, gofalaf fi am eu clirio, cyfrif di dy hun yn rhydd;" beth dybygech chwi fyddai effaith athrawiaeth felly ar ymddygiad dilynol bachgen afradlon? Ai ei wneyd yn fwy cynnil a gofalus? Nage ddim. Pa dad sydd a ddysgwyliai i foddion fel yna luddias afradlonedd yn ei blant? Eto yn ol yr esboniad dan sylw, dyna y moddion a ddefnyddir gan "Dad ein hysbrydoedd" i wrthweithio afradlonedd, ac i gynnyrchu sancteiddrwydd yn ei blant ef, yn adnod y

testyn! Prin y gellid meddwl fod yr Hollddoeth gymaint a hyn yn llai doeth na'i greadur! Onid yw y golygiad fod holl hawliau pechod ar ddyn wedi eu clirio am byth yn marwolaeth ei Feichnïydd ar Galfaria yn arwain yn naturiol i benrhyddid ac Antinomiaeth? Ac oblegid hyn, yr wyf yn credu nad gormod fyddai dyweyd nad dyna ydyw meddwl y testyn, am y rheswm syml fod yr athrawiaeth a gynnwysa yn hollol anaddas i ateb dyben ei hysgrifeniad; fel erbyn ystyried natur pwnc y bennod yn nghynllun yr epistol, dysgeidiaeth ddiamwys yr adnodau cysylltiedig yn y cyd-destyn, ac anaddasrwydd yr athrawiaeth a gynnwysa i gyrhaedd amcan ysgrifeniad yr adnod ei hun, canfyddir fod yr esboniad o farw yn gyfreithiol i euogrwydd pechod yn hollol anfoddhaol ar eiriau y testyn; a chyda llaw, goddefer i ni ddyweyd, po fwyaf feddyliom am y gyfryw athrawiaeth, cryfaf oll yw ein hargyhoeddiad nad oes le iddi yn y Bibl o gwbl.

Sylwedd yr esboniad arall a gynnygir ar yr adnod yw, y dylai proffeswyr Cristionogol ystyried eu hunain dan rwymedigaeth i ddarfod yn hollol gyda phechod, ac i ymroddi yn llwyr i wneuthur ewyllys Duw. "Cyfrifwch eich hunain, nid yn yr ystyr o gredu eich bod, ond yn yr ystyr o deimlo y *dylech fod*, a chofio eich ymrwymiad i fod yn feirw i bechod," &c. "*Marw*" sydd ymadrodd trawsenwol i gyfleu y syniad o ddarfod yn llwyr gyda pheth, fel mae marw gyda gwrthddrychau naturiol. Dyna y dyn marw, ewch â'r eiddo a garai gynt ger bron ei wyneb, ond nid yw yn cael sylw ganddo; amgylchyner ef gan ei deulu oedd unwaith mor hoff ganddo, ond nid oes ganddo ddim i'w wneyd â hwy. Paham? Wedi marw y mae. Yn yr ystyr hon, defnyddir y gair yn drawsenwol i ddynodi darfyddiad gyda pheth. Pan fyddo dyn wedi newid ei chwaeth, dywedir ei fod yn farw i'w hen bethau. A bod yn farw i bechod yw bod heb ddim i wneyd âg ef. O'r tu arall, "byw" i unrhyw beth ydyw ymroddi yn hollol iddo. Am y cerddor ymroddedig, dywedir ei fod yn byw

i gerddoriaeth; hi aeth â'i fryd, ei sylw, ei amser, ei allu, a'i bobpeth—mae yn byw iddi. Byw i Dduw ydyw ymroddi iddo yn hollol a llwyr, ei gymeryd yn bobpeth bywyd—ei ogoniant yn gyrchnod bywyd—ei ewyllys yn rheol bywyd—ei waith yn llafur bywyd—cariad ato yn ysgogydd holl weithrediadau bywyd; ïe, cymeryd Duw oll yn oll. Ceir yn yr adnod wrth-osodiad prydferth a grymus —marw i bechod, byw i Dduw; y naill yn golygu darfyddiad llwyr gyda phechod, a'r llall yn cynnwys llwyr ymroddiad i Dduw; pechod yn ddim, a Duw yn bob peth. Gosodir duwioldeb ymarferol allan yn ei hochr nacaol ac yn ei hochr gadarnhaol. Marw i bechod—dyna y naill; byw i Dduw—dyna y llall. Gwneyd y ddau ydyw dyledswydd pob proffeswr, ac argymhell hyny arnynt, dybygem ni, ydyw cenadwri y testun. Credwyf y gwelir fod yr esboniad hwn yn rhoi ei lle i'r adnod yn nghynllun y llythyr, yn morteisio yn naturiol yn ymadroddion y cyddestyn, ac yn cynnwys gwirionedd cyfaddas i ateb dyben ymarferol ysgrifeniad yr adnod ei hun. Yn ol y goleu hwn ar yr adnod, y gosodiad a gynnwysa yw,

*Fod Cristionogaeth yn dal ei phroffeswyr dan rwymedigaeth i fyw yn dduwiol.*

Wrth y "chwithau" yn yr adnod, wrth gwrs, y golygir proffeswyr Cristionogol, a chenadwri at broffeswyr yn unig sydd gan yr adnod, a chyda golwg ar broffeswyr yn unig y gwarantir ni i argymhell ei gwirionedd o hyn i'r diwedd.

Tuag at hyn nodwn dair ystyriaeth. Mae Cristionogaeth yn dal ei phroffeswyr dan rwymedigaeth i fyw yn dduwiol, yn

I.

O HERWYDD FOD POB UN O'I PHROFFESWYR WEDI ADDAW BYW YN DDUWIOL.

Yn y flwyddyn 1819, gellid gweled Telford yn sefyll ar làn culfor y Fenai yna, a'i ben yn llawn o egwyddorion

gwerthfawr i'r wlad; trosai yn ei feddwl gynllun pont i ffurfio cynniweirfa gyfleus rhwng Arfon a Môn. Ond cyn y gallai egwyddorion y cynllun dd'od yn allu ymarferol, rhaid oedd i'r ddwy ogof gael eu naddu, i'r pentanau gael eu codi—y cadwyni gael eu gweithio a'u bachu, ac i'r egwyddorion dansoddol oedd yn mhen y Peiriannydd gael eu darostwng i ffurf, yn modolaeth sylweddol y *Suspension Bridge.*

Felly am Gristionogaeth—ceir hi oll yn y Bibl, yn holl fanylion ei chynllun. Ond wedi'r cwbl, nid ydyw Cristionogaeth yn y Llyfr ond corff o egwyddorion dansoddol—y bont yn mhen y Peiriannydd. Mewn trefn i'r cynllun ddyfod yn allu ymarferol—yn bont dros yr afon—yn gynniweirfa "o deyrnas Satan i deyrnas ei anwyl Fab," darfu y "Pen saer celfydd" naddu iddi safleoedd gweledig—goruwch-adeiladu colofnau o feini bywiol, gan eu cydgysylltu yn nghadwyni cariad yn un corff gweledig; a thrwy hyn darostyngwyd Cristionogaeth ddansoddol y Llyfr yn allu ymarferol yn mherson yr eglwys weledig ar y ddaear; oblegid nid yw yr eglwys weledig amgen na'r corff lle mae ysbryd Cristionogaeth yn trigo, yr amwisg weledig lle y mae ei hegwyddorion hi yn byw, symud, a bod.

Gwnaethom y sylwadau hyn, er mwyn dangos mai yr unig ffordd y gellir bod yn broffeswr Cristionogol ydyw bod yn aelod eglwysig—pan dderbynir dyn yn aelod cyflawn o'r eglwys weledig, y daw efe hefyd yn broffeswr o Gristionogaeth ysbrydol.

Afreidiol yw dyweyd mai un porth sydd i'r naill a'r llall, ac mai enw y porth hwnw yw Bedydd. Ewch a dysgwch—proselytiwch—yr holl genedloedd, gan eu bedyddio yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, ydyw cyfarwyddyd y commissiwn apostolaidd. Proselytio trwy fedyddio. Fel mae y drws yna yn borth i'r eisteddle, y dwyrain acw i'r wawrddydd, ac angeu i fyd arall, felly yr unig borth i aelodaeth o'r eglwys Gristionogol ar y ddaear yw Bedydd. Nid wyf yn dyweyd yr unig borth i'r nefoedd; na, nid felly, ond dywedaf eto, dyma yn awr unig borth

derbyniad i eglwys weledig Crist ar y ddaear. Yn awr, y mae gan fedydd dwfr ei arwyddocâd. I adael ei ochr Ddwyfol o'r neilldu ar hyn o bryd, mae bedydd yn arwyddocâu, ar du y dyn, ymrwymiad dyblyg i fyw yn dduwiol—ar un llaw, arwydda fod y bedyddiedig yn ymrwymo yn gyhoeddus yn enw y Drindod i adael pechod yn llwyr ac am byth; ac ar y llaw arall, cynnwysa ei fod yn ymwystlo yr un mor gyhoeddus a difrifol i roddi ei hunan gorff ac enaid i'r Drindod fendigaid, mewn cyfamod tragywyddol. Ond craffu, gwelir fod y ddau blyg hyn i ymrwymiad y bedyddiedig yn cael eu hargymhell gan Paul yn y bennod hon. Ef allai nad yw pawb yn cytuno yn hollol o barth meddwl rhan gyntaf y bennod. Ond gyda dyledus barch i farn eraill, yr ydym yn credu gyda'r Tansuddwr, fod y gair "bedyddio" arferir yma yn cyfeirio at fedydd dwfr, ac yn credu gyda'r Taenellwr, nad yw y gair "claddu" yn cyfeirio at *ddull* gweinyddiad bedydd. Amser a ballai i nodi ein rhesymau dros y safle a gymerwn. Goddefer i ni ddyweyd yn unig, mai pwnc rhan gyntaf y bennod hon ydyw egluro arwyddocâd bedydd, fel y mae yn cynnwys ymrwymiad dyblyg ar du y bedyddiedig. Pan ddarllenwn am "groeshoelio gyda Christ," "marw gydag ef," a "chladdu gydag ef," gesyd allan y plyg cyntaf o'r ymrwymiad, sef addewid y bedyddiedig i ddarfod yn llwyr gyda phechod. Ond pan ddarllenwn am fod yn "nghyffelybiaeth ei adgyfodiad ef," "byw gydag ef," bod "megys o feirw yn fyw," golygir y plyg arall i'r ymrwymiad, sydd yn cynnwys ei ymgysegriad bythol i Dduw. Wrth gwrs, Iuddewon ydoedd corff eglwys Rhufain ar y pryd, a diau fod yr Iuddewon yn deall plyg cyntaf ymrwymiad y bedyddiedig, rhag blaen—yr oedd bedydd puredigaeth yr hen oruchwyliaeth wedi dysgu hyny iddynt. Ond dichon nad oeddynt mor addfed eu dirnadaeth i weled yr ail, ac oblegid hyny ymresyma Paul y mater yn ngoleu amcan dyblyg marwolaeth Crist, i'r hwn y cawsent eu bedyddio, adn. 5—10. A chedwir y

ddau blyg—marw i bechod a byw i Dduw—yn y lle mwyaf amlwg ymhob adnod o'r 5ed hyd yn adnod y testyn, gan ddysgu yn benderfynol fod bedydd dwfr yn arwyddocâu, o du y dyn, fod y bedyddiedig yn cymeryd arno ei hunan yr ymrwymiad dyblyg o farw i bechod, a byw i Dduw.

Dyna achos o fedyddiad dyn deg ar hugain oed, trwy daenelliad neu drochiad, nis gwaeth mo'r llawer pa un—pagan dychweledig, dyweder. O un ochr, mae yr eglwys Gristionogol, yn mherson ei gweinidog, y cenadwr, trwy weinyddu arno yr ordinhad o fedydd, yn derbyn y bedyddiedig i holl freintiau cyflawn aelodaeth; ac o'r ochr arall, mae y bedyddiedig yn ymrwymo yn enw y Drindod ei fod yn marw i bechod, ac yn byw i Dduw am byth.

Neu pan fedyddir baban. O un tu, yn ei gweinidog mae yr eglwys yn derbyn y bychan yn aelod o eglwys weledig Crist; ac o'r tu arall, mae y rhieni yn ymwystlo dros y baban yn yr ymrwymiad crybwylledig. A phan dyfo y baban, os ca fyw i oedran cyfrifoldeb, syrth yr ymrwymiad a gymerodd ei rieni drosto yn y bedydd yn ei holl rwymedigaethau ar ei berson ef ei hun; fel y mae pob person a fedyddiwyd trwy daenelliad neu drochiad, pan yn ddyn, neu pan yn blentyn, wedi ei dderbyn unwaith yn aelod o eglwys Crist, ac fel ammod y derbyniad hwnw wedi ymrwymo, wedi sacramentu, wedi tyngu trwy lŵ ei fod yn marw i bechod, ac am fyw byth i Dduw. Fel y gwelir am bob dyn bedyddiedig sydd yn yr oedfa hon, fod Cristionogaeth yn edrych yn ei wyneb, ac yn dadlu ei fod dan rwymedigaeth i fyw yn dduwiol, oblegid ei fod yn y modd difrifolaf wedi *addaw* gwneyd. Dyna'r deall oedd rhyngoch a'ch gilydd yn y Bedydd dwfr, a thelerau y cyfammod a adnewyddir genych bob tro y cyfranogwch chwi o Swper yr Arglwydd. Nis gallwch ddianc, fy ngwrandawyr, rhaid i chwi oll fyw yn dduwiol, neu anturio y cyfrifoldeb aruthrol o dori llw. Pa un a wnewch chwi? Meddylia rhai o hon-

och gryn lawer o gadw eich gair. Ni byddai cerdded milldiroedd yn droednoeth, gwario punnoedd o'ch prinder, a dyoddef caledi hyd ymyl trancedigaeth, ond bychan genych er mwyn cadw eich gair, heb son am gadw llw. Lord Chatham, un diwrnod, a addawodd i'w fab y cawsai weled y dynion yn dymchwel rhyw hen fur oedd gerllaw y palasdy; ond trwy anghof, gwnaed y peth yn absennoldeb y bachgen. Ond mynodd y Lord ei chodi yn ol yn unig er mwyn i'r mab weled ei dymchweliad, yn hytrach na thori ei air. Yn amser rhyfel y Crimea, darfu bachgen o Sais, *drummer* yn y fyddin, mewn llythyr at ei fam, ysgrifenu un frawddeg gwerth ei hargraffu mewn aur. Ar ol darluno caledi y gauaf byth-gofiadwy hwnw—y gwynt oer a gurai, y prinder bwyd a dillad, a'r holl galedi a ddyoddefai, a'r perygl bywyd a amgylchynai y fyddin, terfynai ei lythyr fel hyn, "*But mother, it is our duty, and for our duty we will die.*" Oblegid ei fod ef a'i gymdeithion wedi ymrwymo trwy lw i fod yn ffyddlon i'w pen coronog, dewisai y *drummer* bach farw yn hytrach na'i dori. Beth! a dorwch chwi eich adduned? A ddiystyrwch chwi eich llw i Goncrwr Edom a Bozrah? Os gwnewch, cyfyd ceryg mur Chatham, a hen greigiau y Crimea, i'ch erbyn yn y farn. Os na wnewch, cofiwch rhaid i chwi fyw yn dduwiol, a chyfrif eich hunain holl ddyddiau eich einioes yn feirw i bechod, &c. Deil Cristionogaeth chwi dan rwymedigaeth i fyw yn dduwiol, yn

II.

O HERWYDD EI BOD YN CYNNYSGAETHU POB UN O'I PHROFFESWYR GYDA GALLU DIGONOL I GYFLAWNI EI ADDEWID IDDI.

Er fod pob proffeswr wedi addaw unwaith byw yn dduwiol, eto pe gwelsai fod byw yn dduwiol yn anmhosibl iddo, prin y buasai yn deg ei ddal dan rwymedigaeth i gadw ei addewid. Ond nid felly y mae pethau yn bod.

Ymdriniwyd eisoes âg ymrwymiad yr ochr ddynol yn y bedydd dwfr, ond mae iddo ochr arall, yn yr hon y mae Cristionogaeth yn gwystlo ei hun i wneyd ei rhan i'r dyn ar delerau penodol. A beth bynag yw anallu dyn o hono ei hun i fyw yn dduwiol, drwy hyn gosodir gallu digonol i'r perwyl hwnw o fewn ei gyrhaedd.

"Nis gallaf," ebai y bedyddiedig, "fyw yn iawn heb feddu rheol gywir." Eithaf gwir, ond mae gan Gristionogaeth reol felly—y Beibl. Yn Seion mae cyfraith, &c. "Er cael rheol iawn," ebe y truan, "nis gallaf fyw wrthi tra o dan fy maich;" a phwy all weithredu yn dda tra fyddo mewn sefyllfa o euogrwydd? Pwy all gyrchu at nod, a rhedeg wrth reol, pan dan ei faich? Dyna brofiad pererin Bunyan, "Mi a welwn yn fy mreuddwyd, fod y brif-ffordd ar hyd yr hon yr oedd yn rhaid i Gristion fyned wedi ei chau o'r ddau du â mur, ac enw y mur oedd Iachawdwriaeth." Eithaf ffordd—ond nid heb lawer o anhawsder y gallodd "Cristion" ei dringo, "o herwydd y *baich trwm oedd ar ei gefn.*" Ac o ran hyny, troi i "lwybrau gwaharddedig," a chwympo i gors anobaith, a cholli y "ffordd dda," yr oedd y pererin o hyd pan dan ei faich. Os dyna dy brofiad dithau, gyfaill, gwrando felus lais Cristionogaeth yn cyhoeddi, "Pwy bynag sydd flinderog a thrwmlwythog, deued ataf fi, a mi a esmwythâf arno." Mae Crist yn cynnyg maddeuant rhad, a thrwy hwnw symudir yr euogrwydd a dymchwelir y baich. I fyny ychydig ar ffordd iachawdwriaeth mae bryn bychan, ac ar y bryn groes yn sefyll, ac islaw yn y gwaelod, fedd agored. Ac mor gynted ag y daw y pererin i fyny at y groes, syrth ei faich i lawr, a threigla i mewn i enau y bedd na welir mo hono mwy, ac mewn canlyniad, gall "Cristion" gerdded y llwybr uniawn, llamu dair gwaith, a theithio ymlaen yn orfoleddus.

Ond ar ol cael y baich i lawr, ef allai y cwynir o herwydd fod calon galed gyndyn, lygredig, dan y fron. Ond mae Cristionogaeth yn cynnyg tynu ymaith y galon

gareg, newid anian y fynwes, a geni dyn drachefn. Ond ar ol cael yr holl fendithion hyn, cwynir o herwydd amgylchiadau anffafriol—byd yn drygu â'i orthrymderau, y cnawd yn llithio â'i felus chwantau, a Satan yn temtio â'i hudoliaethau. Ond yn eu hwyneb oll, mae Cristionogaeth yn addaw gorfoledd mewn gorthrymderau, gras yn ol y dydd yn ngwyneb cnawdol nwydau, a chyda phob temtasiwn Satanaidd, ddiangfa. Ar bob tir, yn ngwyneb pob anfantais, cynnygia Cristionogaeth help prydlon, cyfleus, a digonol; fel y mae byw yn dduwiol yn bosibl. Gwnaeth rhai fyw felly trwy y gras sydd yn yr Iesu. Do, filiynau ar filiynau. Gellwch chwithau hefyd feirw i bechod a byw i Dduw, ac am hyny dadleua Cristionogaeth y *dylech* wneyd. "Cyfrifwch eich hunain," &c. Yn

III.

O HERWYDD FOD CRISTIONOGAETH YN CYLCHYNU EI PROFFESWYR GYDA'R CYMHELLION GRYMUSAF SYDD YN BOD I ACTIO Y GALLU CRYBWYLLEDIG YN NGHYFLAWNIAD EU HADDEWID.

Heblaw gosod dan ymrwymiad i fyw yn dduwiol yn yr ordinhadau, a chynnysgaethu gyda gallu digonol i hyny yn ei gweinyddiadau achubol, mae Cristionogaeth yn dwyn y cymhellion cryfaf i hyn i orphwys ar y meddwl yn ei dadguddiadau athrawiaethol. O ran hyny, dyma yw holl osgo ei dadguddiadau—fel y mae ffyrdd pob teyrnas yn arwain i'r Brifddinas, gwreichion pob tân yn hedeg i fyny, a dwfr pob afon yn llifo i'r môr, felly y mae holl ddadguddiadau athrawiaethol Cristionogaeth, yn gystal a'i thriniaethau achubol, yn arwain, yn cymhell, yn dirgymhell—cymhell hyd yr eithaf—ei phroffeswyr i fyw yn dduwiol. Er engraifft, gallwn nodi ychydig allan o'r lliaws. Yn

1. Y dadguddiad a ddyry o *gymeriad moesol Duw.* Crefydd y Bibl bïa datguddio cymeriad moesol Duw. Mae y

greadigaeth yn dangos *fod* Duw, a'i fod yn Un mawr a meddylgar, "ei dragywyddol allu a'i Dduwdod," medd Paul. Ond dyna'r cwbl. Mae hen gastell yn arddangos dyfais meddwl a nerth braich ei adeiladydd, ond yn hollol ddystaw am ei garictor moesol; ni ddywed air pa un ai meddw neu sobr, drwg neu dda, anffyddiwr neu Gristion, ydoedd. Mewn llyfr y dadguddir hyny. Felly am Dduw, mae cynllun y greadigaeth yn dangos dyfais ei feddwl, a'i maint yn dadlenu nerth ei fraich; ond yn y llyfr y ceir allan ei gymeriad moesol, hwn sydd yn dadguddio arfaethau ei drugaredd a thosturiaethau ei galon. Fel y mae y Bibl yn gadael rhwng natur a phrofi *fod* Duw, felly y mae natur yn gadael rhwng y Bibl a dadguddio *cymeriad* Duw. Ac mae yr hen Lyfr yn gwneyd ei waith yn rhagorol. Brithir ei ddalenau âg enw Duw o ddechreu Genesis hyd ddiwedd Dadguddiad, a defnyddia bob cyfleusdra i ddal allan linellau gogoneddus ei gymeriad. Ond ymha fan neu fodd bynag y mae y Bibl yn datguddio cymeriad Duw, gwna hyny ymhob man, ac ymhob modd, er ffurfio y cymhelliad cryfaf i rinwedd yn ei ddarllenydd. Deddf yn y meddwl dynol ydyw, fod cymeriad addolwr yn ymdebygoli i'r eiddo ei dduw, beth bynag fyddo hwnw. Os rhyfelgar a thrythyll fydd yr eilun, felly yr addolydd; neu os hawddgar a da fydd, felly yr ä cymeriad dyn wrth ei addoli. Mae hyn yn ffaith, a dylai darllenwyr "Athroniaeth Trefn Iachawdwriaeth" gofio rhesymau yr awdwr talentog hwnw drosti. Yn awr ymha oleuni y dyry Cristionogaeth gymeriad Duw yr addolydd Cristionogol? "Goleuni yw Duw"—"Duw cariad yw"—bôd sydd yn casâu anwiredd ac yn caru gwirionedd oddi mewn—yn ddigllawn beunydd wrth yr annuwiol, ac yn cadw eneidiau ei saint—Bôd a gynneuodd uffern â'i wg, am fod yn gas ganddo bechod, ac a greodd nefoedd â'i wen, am fod yn hoff ganddo sancteiddrwydd; ie, Un nad arbedodd ei Briod Fab yn hytrach na swcro pechod yn ei lywodraeth. Mewn gair, Duw yn erbyn pechod, ac o blaid sancteiddrwydd ydyw ein

Duw ni ar bob dalen o lyfr Cristionogaeth. Ac os gwir yw fod dyn wrth addoli yn ymdebygoli i gymeriad moesol y gwrthddrych a addolir ganddo, y fath gymhelliad grymus i rinwedd raid fod yn y dadguddiad Cristionogol o gymeriad moesol Duw. Gyda llais mor rymus a'r daran, ac eto mor felus a'r delyn, mae cymeriad moesol Duw yn cyhoeddi, "Broffeswyr, byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi." Eto yn

2. Dyna athrawiaeth *cyfryngoliaeth Crist.* Athrawiaeth y Bibl yn unig ydyw hon hefyd, ac mae ynddi gymhelliad cryf; ond cymhelliad yn tynu â'i holl nerth i farw i bechod, a byw i Dduw. Gwrandewch ar iaith Paul, "Canys y mae cariad Crist yn ein cymhell ni" . . . . cymhell i beth? "Fel na byddai i'r rhai byw, fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd," 2 Cor. v. 14, 15. Neu ar eiriau Crist ei hun, "A minnau os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf bawb ataf fy hun,"—a'r groes a'i pïa hi am dynu. Llawer a ysgrifenwyd yn fedrus, ac a bregethwyd yn felus am "atdyniad y groes," ond llai na digon eto. Mae y dadleniad a ddyry o ddrwg pechod yn nyoddefiadau y Cyfryngwr o'i achos—yr arddangosiad o werth prydferthwch moesol yn nheithi cymeriad y Dyoddefydd—a'r diorchuddiad a wnaed arni o ddyfnderoedd Dwyfol gariad yn ngwirfoddolrwydd ei ymddarostyngiad i ingoedd angeu, yn ffurfio colofn driphlyg o gymhelliad i fyw yn dduwiol, na cheir ei hail mewn dim arall yn y cread. O wrandawyr hoff, rhowch dro o ran eich myfyrdod gyda'r Iesu anwyl yn ei ddyddiau olaf, ar ei ffordd i'r groes. Clywch y gwawd a'r dirmyg a deflir arno, y drwg a'r cabledd a briodolir iddo gan bechaduriaid! Sylwch mor llygredig yw ei wedd yn anad neb! Ow! y pryder sydd yn gwingo ar ei ael—y dagrau breision sydd yn mygu ar ei rudd, yr ocheneidiau trymion sydd yn dianc o'i fynwes! Ewch ar ei ol ar noson rewllyd i'r ardd, gwrandewch ar y weddi ddyfalach ddyfalach a enfyn at ei Dad, a gwelwch y defnynau cynhes o waed sydd yn toddi y rhew, yn dyllau cochion oddeutu ei liniau! Och!

dyma dyrfa yn d'od! Judas yn ei fradychu, milwyr yn ymosod, a Christ yn y ddalfa! Drannoeth mae Pilat yn ei gondemnio, y bobl yn ei wawdio, a'i ddysgyblion yn ei adael. Ewch gydag ef i Galfaria—gwelwch ef yn symud yn araf yn nghanol y dorf, a'i gernau yn waed, ar ol i rywun dynu y blew—ei rudd yn glais ar ol i rywun ei daro—ei gefn yn gwysau gwaedlyd, ar ol i rywrai ei aredig â'r fflangell, a'i ael yn dyllau dan y drain! Dacw fe, yr Un anwyl yn myned fel oen i'r lladdfa! O'r diwedd cyrhaeddwyd pen y bryn, ac os medrwch weled gan ddagrau, edrychwch arno ar y groes, dan hoelion, a dirmyg, a melldith. Cilia haul o wydd ei ddirdyniadau, rhwyga y graig yn swn ei ruddfanau, sigla y ddaear dan bwys ei fawr wasgfa, gostegai nefoedd i ryfeddu, a duai gan syndod; ymegnïai uffern i'w boeni, ymgythreuligai dynion i'w faeddu; cuddiai y Tad ei wyneb draw i'w daro, ac o dan bwys ingol yr oll, gogwyddodd Iesu mwyn ei ben ac a drengodd. Y fath ddyoddefaint! Ond achos y cyfan iddo oedd pechod. A ellwch chwi garu hwnw mwy? Byddai yn haws i wraig y capten garu y môr a foddodd ei gwr, neu i weddwon Germany hoffi milwyr Ffrainc a lofruddiodd eu hanwyliaid, nag i neb sydd yn caru Iesu garu y pechod a achosodd y fath ddyoddefaint iddo.

Ië, pan gofir hefyd, ddarfod i'r Crist hwn ymgymeryd â'r cwbl oddiar gariad pur tuag atom ni, pwy all beidio ei garu yn ol? Yr ydych yn diolch, heblaw talu, i'r meddyg a adferodd eich iechyd, ac yn moli y morwr a neidiodd i'r môr i achub eich bywyd. Clodforir enw Grace Darling, yr hon achubodd y *crew*—Howard a wellhaodd y carchardy—Wilberforce a Lincoln a ryddhasant y caethwas. A all rhywun beidio moli a charu yr Iesu, yr hwn ddaeth yn Rhyddhawr, yn Adferwr, yn Achubwr i ddyn, ac a agorodd ei galon, er bod yn Feddyg anffaeledig i holl ddynolryw? O Grist! onid yw pob cam yn dy lwybr darostyngol o'r nef i'r ddaear ac yn ol, pob deigryn o alar a thosturi, pob dafn o chwys a gwaed, a phob gronyn o rin y gwneyd a'r dyoddef a ddaeth

i'th ran erioed o'm hachos i, yn pregethu yn uwch na tharanau Sinai, "Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw i bechod; eithr yn fyw i Dduw, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd." Neu meddyliwch yn

3. Am athrawiaeth *sefyllfa ddyfodol.* Cristionogaeth bïa dyfod â "bywyd ac anllygredigaeth i oleuni." Mae cyngreddfau mynwes dyn yn dyheu am anfarwoldeb, ac agwedd gymysglyd bresennol pethau yn awgrymu yn gryf fod sefyllfa ddyfodol; ond mae Cristionogaeth, oddiar awdurdod Duw ei hun, yn gosod y naill a'r llall uwchlaw pob ammheuaeth. Dywed hi fod dyn i fyw byth—pan fydd afonydd wedi peidio rhedeg, y môr wedi ei ferwi yn sych, llygad tanbaid haul wedi dallu gan henaint, barn wedi pasio, a ffurf bresenol pethau wedi ei hen gyfnewid—byddaf fi a chwithau yn byw y pryd hyny yn y byd arall, i'r hwn y'n crewyd ni. Ond yn mha ardal bydd ein lletty? Hyny sydd o dragwyddol bwys, oblegid mae gwahaniaeth dirfawr rhwng y ddwy ardal sydd yno, medd Cristionogaeth.

Yn y naill, mae cydgyfarfyddiad pob elfen o drueni—tân yn llosgi—pryf yn cnoi—cerwyn llid Duw yn berwi—a'r preswylwyr yn cael eu poeni, eu rhwygo, a'u mathru, nes y bydd mwg eu poenedigaeth yn esgyn i fyny yn oes oesoedd, a'r cwbl am beidio marw i bechod. A ydyw gweled pob cerbyd sydd yn gyru ffordd yna yn cwympo dros y dibyn i'r fath le ddim yn eich cymhell i ddal ar y ffrwyn? Gwrthdarawiad a malu yn chwilfriw sydd ffordd acw. "*Shut off steam, reverse it at once.*"

Ond yr ochr arall i'r gagendor, mae cydgyfarfyddiad pob dedwyddwch a gogoniant. O ardal hyfryd! O wlad dda odiaeth! Mae y tlawd ar ben ei ddigon—y lluddedig mewn gorphwysfa—y cystuddiedig yn holliach—yr amddifad mewn cartref a theulu—y weddw mewn cylch na ddryllir, a phawb wrth eu bodd! O fel y maent yn gweled doethineb dyrys droion yr yrfa—yn deall dyfn-bynciau Cristionogaeth, ac yn morio ar eigion di-lan cysuron crefydd. Gwelwch eu hymddangosiad hardd! Clywch eu caniadau soniarus! Ystyr-

iwch eu mwynhad didor a didranc! Dacw hwy! A oes arnoch ddim awydd myned atynt i fyw? Onid ydyw yr olwg sydd arnynt yn eich tynu? Y Crist bendigedig acw sydd ar yr orsedd wen fawr, onid ydyw yn eich tynu ato ei hun? a'ch cyfeillion cadwedigol—eich babanod—gwragedd—rhieni—cyfeillion—pregethwyr, &c. Ar ol marwolaeth ei wraig, dywedodd un fod ganddo haul a lleuad yn y nefoedd, ac wrth i'r ddau dynu yr un ffordd, fod llanw ei awydd am fyn'd yno yn codi yn uchel iawn.

Mewn gair, mae holl ddadguddiadau athrawiaeth Cristionogaeth yn ein cwmpasu â'r cymhellion grymusaf yn bosibl i fyw yn dduwiol. Iaith cymeriad moesol Duw ydyw, "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi." Iaith cyfryngoliaeth Crist ydyw, "Fel na byddoch mwyach fyw i chwantau dynion, ond i ewyllys Duw, dros yr amser sydd yn ol y cnawd." Marwolaeth, "Am hyny byddwch," &c. Barn, "Gan eich bod yn dysgwyl y pethau hyn, gwnewch eich goreu," &c. Uffern oddidanodd yn rhuo gan ddyweyd, "Rhag dyfod o honynt i'r lle poenus hwn;" a'r Nefoedd uwch ben, gan ddal goleuni yn y ffenestr, yn codi eu llaw, gan felusfloeddio, "Dring i fyny yma."

Ac mae pob cyffyrddiad achubol a ddyry Cristionogaeth yn creu cymhelliad sydd yn tynu yr un ffordd,—maddeuant, ond "maddeuant fel y'th ofner." Os ail-eni, creu o newydd i weithredoedd da. Ffydd, ond yn gweithio trwy gariad. Gobaith, ond y mae pob un sydd yn ei feddu yn ei buro ei hun. Cymdeithas â Duw, ond yn nglŷn â hyny mae gwaed Iesu Grist yn glanhau oddiwrth bob pechod.

Bellach ar ol yr addewid a wnaethoch i fyw yn dduwiol, y gallu a roddwyd yn eich cyrhaedd i gyflawni eich addewid, a'r cymhellion di-ail sydd o'ch cwmpas i wneyd felly, onid oes gan Gristionogaeth dir teg i'ch dal dan rwymedigaeth i *fyw yn dduwiol?* "Cyfrifwch eich hunain yn farw i bechod; eithr yn fyw i Dduw, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd."

## WILLIAMS PANTYCELYN.

GWEITHIAU WILLIAMS PANTYCELYN, *dan olygiad N. Cynhafal Jones. Llanidloes. Cyfrol I. Yn cynnwys ei holl Weithiau Barddonol oddieithr ei Hymnau, gyda Bywyd yr Awdwr a Thraethawd Beirniadol ar ei Weithiau gan y Golygydd. Treffynnon: P. M. Evans & Son.* 1887.

YR uchod yw titl y gyfrol cyntaf o'r argraffiad newydd a ddygir allan o holl weithiau barddonol a rhyddiaethol prif emynydd Cymru. Bwriedir i'r ail gyfrol gynnwys ei Hymnau a'i ysgrifeniadau Rhyddiaethol. Cyfrol wythplyg yw hon, yn cynnwys oddeutu saith cant o du dalenau, mewn llythyren eglur a hawdd i'w darllen, wedi ei rhwymo mewn llïan hardd, ac o ran plyg a thrwch yn gymesur a hylaw. Ugain mlynedd yn ol, ar gyfer y mis hwn, cyhoeddwyd Gweithiau Williams dan olygyddiaeth Kilsby Jones, gan MacKensie, yn un gyfrol fawr. Cynnwysai y gyfrol hono Gofiant iddo gan y Golygydd, erthyglau ar ei gymeriad fel Bardd Cristionogol o waith yr anfarwol Hiraethog, ynghyd a nifer o arluniau, megys darlun o'r Bardd, llun Pantycelyn, ei gartref, eglwys a mynwent Talgarth lle yr argyhoeddwyd ef, a mynwent Llanfair ar y Bryn, lle y gorwedd ei weddillion. Cyflawnodd yr argraffiad hwnw wasanaeth werthfawr; ond teimlai llawer, fel y dywed Cynhafal, fod y plyg yn anhylaw at ei ddefnyddio; fod ei bris uchel yn ei osod o gyrhaedd llawer, ac fod y gwallau a adawyd yn y testyn heb eu symud, yn galw am gyhoeddiad argraffiad newydd o holl Weithiau Williams. Ac yn awr, wele argraffiad felly, hylaw a rhad, destlus a diwygiedig, yn cael ei gynnyg i'r genedl gan P. M. Evans a'i Fab; a mawr hyderir y rhoddir iddo, fel yr haedda, dderbyniad eang a chalonog.

### I.

Byr a bylchog yw yr hanes cyflawnaf a feddwn o fywyd maith a llafurus Perganiedydd Cymru. Oni b'ai am feddylgarwch a gofal Charles y Bala, buasem yn gwybod llai am dano ef, nag hyd y nod a wyddys am hen feirdd enwog Lloegr a'r Cyfandir. "Ymhlith plant gwragedd ni chododd beirdd mwy na Homer, Dante, Shakespeare, a Milton; eto ymysg holl anfarwolion y ddaear byddai yn anhawdd nodi neb ag y gwyddys lai o hanes eu buchedd yn y byd, na'r pedwar gŵr a enwyd. Bu eu hanes ar gael ac yn agos unwaith; ond fel dyfroedd wedi eu tywallt ar y ddaear, y rhai ni chesglir, felly y cyfrgollwyd y gynnysgaeth hono," medd Cynhafal, yn y Cofiant hwn, yn briodol a phrydferth iawn. Mab ffarmwr oedd William Williams. Ganed ef mewn amaethdŷ o'r enw Cefnycoed, oddeutu dwy filldir i Bantycelyn, yn mhlwyf Llanfair ar y bryn, Sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1717. Ei rieni oeddynt yn proffesu crefydd

gyda'r Ymneillduwyr, ac yn bobl dduwiol iawn. John Williams oedd enw ei dad, a Dorothy Lewis oedd enw morwynol ei fam. Ymddengys fod ei dad gryn lawer yn hŷn na'i fam, a'i fod wedi marw pan oedd William yn dra ieuanc. Bu ei fam fyw i oedran mawr—yn 95 pan fu farw. William oedd y pedwerydd o chwech o blant, a'r unig fab o dri a dyfodd i oedran gŵr. Ewythr iddo o du ei fam a adawodd etifeddiaeth ddèl iddo ef a'i fam pan nad oedd ef ond ieuanc. Gorphenodd ei addysg yn ysgol Llwynllwyd, Sir Frycheiniog, dan un David Price, gweinidog yr Ymneillduwyr, Maesyronen. Mr. Price oedd y gweinidog cyntaf yn Maesyronen, wedi iddi fyned yn eglwys ar ei phen ei hun. Cafodd ei urddo yno tua y flwyddyn 1700, a bu yn llenwi ei gylch yn effeithiol hyd derfyn ei oes yn 1742. Yr oedd ef yn weinidog o safle uchel, ac yn uwch na'r cyffredin o ran ei amgylchiadau bydol, ac yr oedd yr athrofa dan ei ofal yn dra enwog pan oedd mab Cefnycoed yno yn fyfyriwr. Bwriad y gŵr ieuanc yr adeg hono ydoedd bod yn feddyg; astudiodd physygwriaeth yn ddyfal, a bu o les i lawer ar hyd ei oes trwy ei gyfarwyddiadau meddygol. Ond yr oedd gan Ben yr eglwys gylch arall llawer mwy eang a phwysig ar ei gyfer—sef gweinyddu iachawdwriaeth yr efengyl i eneidiau dynion.

## II.

Argyfwng ofnadwy bwysig yn ei hanes oedd *ei dröedigaeth at yr Arglwydd* yn mynwent Talgarth. Cyn cwblhau o hono ei addysg yn Athrofa Llwynllwyd, clywai lawer o son am lafur a llwyddiant Howel Harris. Lleygwr diurddau oedd Harris, o ran penodiad Eglwysig; ond yr oedd difrifwch ei ysbryd yn achos tragywyddol ei genedl wedi ei gymhell i ddechreu cynghori yn gyhoeddus mor foreu â'r flwyddyn 1736, pan nad oedd ond llencyn dwy ar hugain oed, a buan y deuwyd i deimlo ysbryd a nerth ei weinidogaeth. Ar y meusydd ac yn y mynwentydd y pregethai, ac yr oedd cyrchu mawr ar ei ol. Un o'i leoedd dewisol i gynnal ei oedfaon yn yr awyr agored oedd mynwent Talgarth, ac nid oedd hono ymhell o Llwynllwyd, lle yr oedd Williams yn yr ysgol. Y mae portread dychymygol Hiraethog o'r oedfa a effeithiodd y "tro mawr" yn hanes Williams yn werth ei ddyfynu. Gyda golwg ar yr oedfa ryfedd hono y canodd yn ei Farwnad i Harris fel hyn:—

"Dyma 'r boreu, fyth mi gofia,
Clywais innau lais y nef;
Daliwyd fi wrth wŷs oddi uchod
Gan ei sŵn dychrynllyd ef;
Ac er crwydro 'r dyrys anial,
Ol a gwrthol, dilesâd;
Tra bo anadl yn fy ffroenau
Mi a'i galwaf ef, fy nhad."

Dichon hefyd mai Harris yr adeg hono, a'r hyn a deimlodd dan ei weinidogaeth, oedd ganddo yn ei feddwl yn y darluniad canlynol o dröedigaeth Theomemphus o dan bregeth Boanerges:—

"Ac yna Boanerges
Agorai 'i enau pur
Rhwng daear ddudew dywyll
A nefoedd oleu glir:

Mil oedd o glustiau 'n gwrando
A THEOMEMPH. yn un,
Ac ofn yn ei galon,
A chryndod yn ei lin.

"Uwch coryn mynydd Sina,
Yn uchel fyny fry,
Ar aden cwmwl gwibiog,
Mewn awyr dywyll, ddu,
Lle clywai gwlad o ddynion,
Lle y dadseiniai 'r nef,
Mewn eitha' godidawgrwydd
'R oedd ei sefyllfa ef.

"Ei lais oedd fel taranau
Amrywiol iawn ynghyd,
Neu fel yr udgorn olaf
A eilw 'r meirw ynghyd;
Yn creu rhyw arswyd rhyfedd
Trwy 'r ddaear faith a'r nef,
A miloedd yn llewygu
Wrth sŵn ei eiriau ef."

III.

Ar ol gorphen ei addysg, aeth Williams i waith y weinidogaeth yn yr Eglwys Sefydledig. Urddwyd ef yn ddiacon yn 1740, gan Esgob Tyddewi, i guradiaeth Llanwrtyd a Llanddewi Abergwesyn. Bu yno am dair blynedd yn pregethu, gydag ychydig lwyddiant, i bobl dywyll ac anfoesol iawn. Yr oedd ei ysbryd ef y pryd hyny yn hynod o ddefosiynol ac ymroddedig. Cynnaliai ddyledswydd deuluaidd dair gwaith yn y dydd. Ni chafodd erioed ei gyflawn urddo. Pallodd yr Esgob wneuthur hyny iddo o achos ei afreoleiddiwch yn pregethu y tu allan i derfynau ei blwyfau ei hun. Yn wir, rhoddwyd ef, pan yn gurad Llanwrtyd, yn llys yr Esgob am 19 o bechodau ag y bu yn euog o honynt, megys gwrthod dodi arwydd y groes wrth fedyddio, a'r cyffelyb. Pan oedd ynghylch deuddeg ar hugain oed, ymunodd mewn glân briodas gyda boneddiges o'r enw Mary Francis. Brodor o Lanfynydd oedd hi, ac wedi hyny a fu yn trigo yn Llansawel. Hi oedd unig blentyn ei rhieni, a daeth yr etifeddiaeth fechan a adawodd ei thad ar ei ol i'w rhan. Buasai hi yn byw am flynyddau fel cydymaith i'w wraig yn nheulu y Parch. Griffith Jones, Llanddowror. Yr oedd hono yn wraig fawr, ac yn chwaer i Syr John Phillips, Barwnig, o Gastell Picton; a mwy na hyny, yn wraig dduwiol iawn. Yr oedd arosiad Miss Francis yn y teulu hwn wedi ei pharotoi ymhob ystyr i fod yn amgeledd gymhwys i Williams. Dywedir ei bod, fel gwraig Charles Wesley, yn gantores ddeallus a godidog; ac mai trwy iddi hi ganu yr emynau y byddai yn cael mantais i farnu eu melodedd, a'u cyfaddasu i'r tônau bwriadedig ganddo. Ar ol goroesi ei phriod wyth mlynedd, bu farw Mrs. Williams yn 1799, yn 76 mlwydd oed, mewn heddwch mawr. Ei geiriau diweddaf oeddynt, "Hi ddaeth, hi ddaeth! Ni feddyliais erioed y daethai fel hyn! Hi wawriodd arnaf neithiwyr!

'Mae 'r iachawdwriaeth fel y môr.'"

Yr oedd y Diwygiad Methodistaidd yn Nghymru wedi tori allan fel y nodasom, cyn i Williams adael yr Eglwys Sefydledig. Pan

oedd ef yn gurad yn Llanwrtyd, arferai gynnorthwyo y Gymdeithas Fethodistaidd yn Nghilycwm, lle yr oedd y diwygiad grymus ar droed ar y pryd, a bernir iddo yn 1743 adael yr Eglwys, er mwyn rhoddi ei holl lafur yn ngwasanaeth y diwygiad. Dywed ef ei hun iddo wneuthur hyn ar gais Whitefield, ond odid yn Sasiwn Watford. Ceir manylion yr amgylchiad yn y Bywyd, ynghyd a sylwadau i geisio penderfynu Pa bryd, ac ymha le y cynnaliwyd y Gymdeithasfa gyntaf gan y Methodistiaid. Williams, Pantycelyn, oedd y cyntaf o'r Tadau Methodistaidd i adael y Sefydliad, ac nis gellir gosod allan mewn iaith werthfawredd y wasanaeth a gyflawnodd i'r enwad ac i'r genedl yn ystod ei oes faith a llafurus. Gofod a ballai i fanylu ar ei lafur. Pregethodd am 43 ml., a theithiodd ar gyfartaledd rhwng 40 a 50 o filldiroedd bob wythnos yr holl amser hyny. "Gellir ffurfio rhyw ddrychfeddwl am ei deithiau," ebai awdwr *Methodistiaeth Cymru*, "pan y dywedir iddo deithio digon o filldiroedd i gyrhaedd bedair gwaith o amgylch y ddaear, nid llawer llai na chan' mil o filldiroedd." A hyny cyn dyddiau agerlong nac ager-gerbyd. Yr oedd yn gyfaill mawr ac yn gydweithiwr zelog gyda Howell Harris a Daniel Rowlands. Cawn ei hanes yn cydbregethu â John Wesley unwaith neu ddwy, ac yr oedd yn gyfeillgar iawn gyda George Whitefield.

Dengys Cynhafal fod Williams yn *Dduwinydd mawr*, yn alluog iawn mewn dadl ar bwnc o athrawiaeth, ac yn rhagorol am dawelu cwerylon a therfysgoedd yn yr eglwysi; ei fod yn ŵr doniol a gwresog yn ei gyflawniadau cyhoeddus. Llawer a ddychwelwyd at yr Arglwydd trwyddo.

## IV.

Ond fel Emynydd ac awdwr, yn enwedig fel Emynydd, y cyflawnodd *Poet Laureate* Cymru y wasanaeth benaf. Dechreuodd emynu mewn dull hynod iawn. Yr oedd emynau cyfaddas i addoliad Ddwyfol yn brinion iawn cyn ei ddyddiau ef. Yr oedd hyn yn anghyfleusdra dirfawr ar ddechreuad y Diwygiad Methodistaidd. Mewn Cymdeithasfa Fisol a gynhelid yn nhy un Jeffrey Dafydd, cynnygiodd H. Harris fod i bob un o'r brodyr gyfansoddi ychydig o bennillion erbyn y Gymanfa nesaf, i edrych a oedd yr Arglwydd wedi rhoddi yr awen at hyny i ryw un o honynt, a phwy oedd hwnw. Felly fu. Ar ol i bob un ddarllen ei waith, dywedodd Harris, "Williams bïa y canu," ac â hyn cytunodd pawb. Ffrwyth yr annogaeth hono yw y Caniadau gorchestol a geir yn y gyfrol hon, ynghyd a'r Emynau a gyhoeddir yn y gyfrol nesaf. Amlygodd fedr ryfeddol i *gyhoeddi* ei Hymnau. Costiai eu cyfansoddi iddo lafur mawr yn aml. Eisteddai i fyny yn hwyr iawn; anfynych yr elai i'w wely cyn dau o'r gloch y bore. Parodd hyn niwed mawr i'w *nervous system*, a blinid ef am flynyddau gan y nesaf peth i wallgofrwydd. Bu farw yn Mhantycelyn, Ionawr 11, 1791, yn 74 mlwydd oed—ychydig wythnosau o flaen John Wesley. Dichon y cawn hamdden, pan gyhoeddir yr ail gyfrol, i fanylu ar ei gymeriad a'i weithiau.

# XLIV.

## EFFAITH YMARFEROL Y CADW TRWY RAS.

"*Dwg ar gôf iddynt fod yn ddarostyngedig i'r tywysogaethau a'r awdurdodau, fod yn ufudd, fod yn barod i bob gweithred dda. Bod heb gablu neb, yn anymladdgar, yn dirion, gan ddangos pob addfwynder tuag at bob dyn. Canys yr oeddym ninnau hefyd gynt yn annoethion, yn anufudd, yn cyfeiliorni, yn gwasanaethu chwantau ac amryw feluswedd, gan fyw mewn drygioni a chenfigen, yn ddigasog, yn casâu ein gilydd. Eithr pan ymddangosodd daioni a chariad Duw ein Hachubwr tuag at ddyn, nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân; yr hwn a dywalltodd efe arnom ni yn helaeth, trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr: fel, gwedi ein cyfiawnhâu trwy ei ras ef, y'n gwneid yn etifeddion yn ol gobaith bywyd tragywyddol. Gwir yw y gair, ac am y pethau hyn yr ewyllysiwn i ti fod yn daer, fel y byddo i'r sawl a gredasant i Dduw ofalu ar flaenori mewn gweithredoedd da. Y pethau hyn sydd dda a buddiol i ddynion.*"—TITUS iii. 1—8.

RHAN anhebgorol o wybodaeth yn mhob cylch ydyw adnabyddiaeth o berthynasau pethau â'u gilydd. Nid digon yw adnabod y pethau eu hunain, ond rhaid deall lle a threfn a chysylltiad pob un o honynt yn ngoleuni y berthynas y saif ynddi gyda'r lleill. Rhaid i'r seryddwr, nid yn unig adnabod yr haul a phob planed wrthynt eu hunain, ond hefyd ddeall eu dylanwad ar eu gilydd a pherthynas y naill gyda'r llall cyn y gall gyrhaedd syniad cywir am y cysawd heulog. Prin y rhaid eich adgofio o bwysigrwydd hyn mewn

gwybodaeth dduwinyddol; oblegid nid hawdd peidio gweled, nas gall golygiadau duwinyddol neb fod "yn ol gwirionedd" os esgeulusir hyn.

Dau eithaf-bwnc mawr mewn duwinyddiaeth, ag y dylid bod yn ofalus iawn i geisio eu hadnabod felly, ydynt *Rhad Ras* a *Gweithredoedd Da.* Yn niffyg arfer gofal i olrhain eu perthynas â'u gilydd, hawdd yw colli golwg ar eu cysondeb, ac ymollwng i dybied nad ydynt yn cytuno nac yn cydsefyll â'u gilydd,—fod dal cadwedigaeth o ras yn arwain i Antinomiaeth, ac o'r tu arall fod cymhell dyn i weithredoedd da yn cau allan ras Duw. A chlywsoch ddywedyd pethau felly gan y rhai gynt. Nid ychydig na dibwys yw y dadleuon a fu ar y tiriogaethau hyn yn oes ein tadau. Ysgrifenwyd a llefarwyd pethau chwerwon a chas ganddynt am eu gilydd—y naill ochr fel y llall. Ymollyngai pleidwyr gweithredoedd da i dymherau digon drwg; ac ymostyngai cefnogwyr rhad ras i gyflawniadau eithaf diras. Yn hytrach na thaeru cymaint doethach fuasai ymbwyllo i chwilio beth oedd gwir berthynas yr athrawiaethau mewn dadl â'u gilydd, a beth yn fanwl felly oedd y golygiad a goleddid am bob un, gan y blaid wrthwynebol; oblegid oddiar gamddealltwriaeth, os nad anwybodaeth, ynghylch hyny y cyfodai achlysur y ddadl i fesur pell. Anghofiai un ochr nad fel *sail haeddiannol* cadwedigaeth y golygai yr ochr arall "weithredoedd da;" tra na chadwai y blaid hono drachefn mewn cof fod gan ras Duw ei ffrwythau naturiol yn y derbynydd o hono.

Modd bynag, amlwg yw fod y Bibl yn dysgu y *ddau* wirionedd fel eu gilydd, ac yn fynych yn eu gosod ochr yn ochr; ïe, yn defnyddio y cadw o ras yn ddadl i argymhell dyn i weithredoedd da. "Annuwiolion" ydyw y cymeriad a ddyry y Bibl i bob rhyw ddynion sydd "yn troi gras ein Duw i drythyllwch" (Judas 4). Nid oes eiriau rhy gryfion gan Paul i'w defnyddio yn y chweched bennod at y Rhufeiniaid, i wadu y dyb fod athrawiaeth gras yn gefnogaeth i drigo yn wastad mewn pechod, ac i

sefydlu yr argyhoeddiad yn meddwl y darllenydd fod yr effaith yn hollol groes i hyny. Brithir ei epistolau â rhesymau i brofi mai rhyddhau oddiwrth ddeddf pechod, y mae deddf ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu—mai croeshoelio y credadyn i'r byd, a'r byd i'r credadyn, mae croes Crist; ac fod y ffaith mai dan ras ac nid dan ddeddf y mae y rhai a gedwir, yn brawf terfynol nad ydynt mwyach dan arglwyddiaeth pechod! Ond y mae'n debyg na wneir hyn gan Paul yn fwy arbenig yn un o'i ysgrifeniadau nag yn ei epistol at Titus; nac yn un rhan o'r epistol hwnw yn groywach ac yn gryfach nag yn ngeiriau y testyn.

Craffwch arno. Beth yw prif wirioneddau y paragraph? Atebwn heb betruso dim, y ddau yma, *Rhad Ras a Gweithredoedd Da.* Fel y mae testyn a mynegiad yn ffurfio prif elfenau brawddeg,—dwfr a thân yn brif gyfansoddiadau ager—amser a lle yn brif delerau bodaeth grëedig, felly mor amlwg, mor hanfodol, ac mor gyflawn a hyny ydyw y ddau wirionedd a nodwyd i eiriau y testyn.

Dyry y testyn arbenigrwydd a phwys mawr ar Ras Duw. Mewn brawddeg nacaol yn nechreu y 5ed adnod, ac mewn brawddegau cadarnhaol lawer yn y testyn, cymer yr Apostol boen i ddangos fod iachawdwriaeth pechaduriaid yn gwbl o ras. "Ein cyfiawnhau trwy ei ras ef"—ein hachub, ond "yn ol ei drugaredd ef"—trwy ras. Os tywalltwyd yr Ysbryd arnom, gwnaed hyny trwy haeddiant un arall—trwy ras. O ras Duw Dad y tarddodd iachawdwriaeth, ar draul gras y gweithiwyd hi allan trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr, ac yn ol cyfoeth gras y cymhwysir hi yn achubol at ein cyflyrau, trwy adnewyddiad yr Ysbryd Glân. Gras ydyw yn ei dechreu, gras yn y canol, gras yn y diwedd — gras i gyd. Y mae yn anhawdd i ysbrydoliaeth ei hun gyfleu athrawiaeth "y cadw trwy ras" mewn iaith groywach, eglurach, a chryfach, nag a wneir yn ngeiriau y testyn.

Ac eto yn yr un adran ysgrythyrol, dyry Paul bwys mawr ar weithredoedd da. Rhoddir pwys mawr ar hyny

yn yr holl epistol. A phan ystyrir nodwedd y Cretiaid oedd dan ofal Titus ar y pryd, bydd yn hawdd gweled fod achos am hyny. Dywedir fod preswylwyr Creta y pryd hwnw yn nodedig o ddiffygiol mewn gweithredoedd da. "Un o honynt hwy eu hunain, un o'u prophwydi hwy eu hunain, a ddywedodd, Y Cretiaid sydd bob amser yn gelwyddog, drwg fwystfilod, boliau gorddïog." Adn. 12. A sicrha Paul fod y dystiolaeth hono yn wir. Fel y gwelir nad heb achos y cymhellir ar y bobl hyn y pwys o fod yn barod i bob gweithred dda. Ac y mae'n debyg fod mwy o son am weithredoedd da, yn ol ei faint, yn yr epistol hwn na'r un rhan arall o'r Testament Newydd. Rhyw 46 o adnodau ydyw y llythyr i gyd, eto ceir yr ymadrodd "gweithredoedd da' o leiaf chwe' gwaith ynddo; a'r ddyledswydd o'u hymarfer yn cael ei chymhell mewn geiriau eraill cyfystyr lawer gwaith, heblaw hyny. Pe wedi craffu yn fanylach ar Epistol Paul at Titus, ni fuasai raid i Luther sori wrth Epistol Iago. Y mae y llythyr hwn yn gwneyd yr hyn dywed Paul ddylai yr hynafwragedd wneyd, sef yn "rhoi athrawiaeth o ddaioni." Y testyn yn hynod felly. "Bod yn barod i bob gweithred dda" ydyw y cyweiriad yn adnod gyntaf y testyn. Ac fel y gwna y cerddor medrus, dengys yr 8fed adnod fod Paul yn diweddu yn yr un cyweirnod ag y dechreuodd—"fel y byddo i'r sawl a gredasant i Dduw *ofalu* am *flaenori* mewn gweithredoedd da."

Ac onid yw y ffaith mai yr epistol sydd yn rhoddi yr amlygrwydd mwyaf i ras Duw, sydd hefyd yn gwasgu dynaf am weithredoedd da, yn dangos y rhaid fod y ddau wirionedd hyn yn gydsafol â'u gilydd, ïe, yn sefyll mewn perthynas anghenrheidiol y naill i'r llall. Ymddengys fod Paul yn dadlu ac yn dysgwyl am weithredoedd da yn y Cretiaid, oblegid fod eu cadwedigaeth yn gwbl o ras Duw. Ac onid ydyw y tir a gymerir yn gadarn, a'r fath ddadl yn deilwng o sylw hyd heddyw? Hoffwn gael eich ystyriaeth. Y mater ydyw

## Effaith Ymarferol y Cadw trwy Ras.

O graffu yn fanwl, chwi ganfyddwch fod y mater hwn yn rhedeg trwy y testyn yn *ddau* blyg gwahaniaethol; ac y golygir y cadw trwy ras yn ei effaith ymarferol fel *cymhellydd* ac fel *cynnyrchydd*—fel dadl i berswadio y darllenydd i weithredoedd da, ac fel achos sydd yn cynnyrchu gweithredoedd da fel ffrwyth naturiol ei heffaith ar y galon.

Yr ydych yn sylwi y cyfeirir at weithredoedd da dan ddau olygwedd—fel dyledswydd ac fel canlyniad. Defnyddir y modd gorchymynol a'r modd mynegol. Adn. 7, 8, sonir am weithredoedd da yn y modd gorchymynol: "Dwg ar gof iddynt . . . fod yn barod i bob gweithred dda." A'r un modd yr 8fed adnod—"Am y pethau hyn yr ewyllysiwn i ti fod yn daer, fel y byddo i'r sawl a gredasant i Dduw ofalu ar flaenori mewn gweithredoedd da." Yma golygir hyn fel dyledswydd i'w chyflawni, a dygir y cadw trwy ras fel dadl neu gymhelliad iddi. Daioni Duw tuag at ddyn, yn y cadw trwy ras, fel rheswm dros i'r dyn ei hunan arddangos daioni.

Yn ochr yr olwg yna ar y mater, gorwedda plyg arall teilwng o sylw. Yn y 5ed adnod, mewn cysylltiad â'r 3edd, arferir y modd mynegol. Nid gorchymyn gweithredoedd da fel pwnc o ddyledswydd, ond mynegu am danynt fel mater o ffaith: "Canys yr oeddym ninnau hefyd gynt," &c., adn. 3, "eithr . . . y'n hachubwyd ni" (yn ol fel y dylid darllen) yn ol ei drugaredd—trwy ras—ac wedi ein hachub mae pethau wedi cyfnewid yn hollol; ac yn lle cyflawni pob math o weithredoedd drwg, yr ydym ni yn awr "yn barod i bob gweithred dda." Fel y gwelir mai y golygiad yma ydyw fod gweithredoedd da yn gynnyrch naturiol yr ymgeledd a gaed yn y cadw trwy ras. Dyledswydd i'w chyflawni ydyw gweithredoedd da i'r Cretiaid; ond i Paul a Titus yr oeddynt yn effaith eu hachubiaeth fel mae y ffrwyth i'r pren. Ond y cymhellydd iddynt yn y naill, a'r cynnyrchydd o honynt yn y llall, ydyw y cadw

trwy ras. Os ydyw yr effaith yn ddeublyg, a'r moddion trwy ba un y cyfleir yr effaith hwnw yn ddeublyg, yna rhaid fod yr olwg a gymerir ar y cadw trwy ras yn ddeublyg hefyd; oblegid nid yn yr un ystyr y mae y cadw trwy ras yn effeithio fel cymhellydd i ddyledswydd a orchymynir, ag y gweithreda fel cynnyrchydd ffrwyth naturiol a fynegir. Gwna y cyntaf fel cyfundrefn rasol o egwyddorion sydd yn apelio at ddeall a chydwybod ac ewyllys dyn; a gwna yr olaf fel goruchwyliaeth achubol sydd wedi rhyddhau dyn oddiwrth bechod, a chreu ynddo galon newydd. Fel mai yr olwg a gymerir yn y testyn ar y mater yw:—

Fod y cynllun o gadw trwy ras, fel cynllun gwrthddrychol a dansoddol, yn gymhellydd i weithredoedd da, yn ol y gorchymyn a'r annogaeth yn y testyn;

Ac fod y cadw hwn yn ei waith ar gyflwr pechadur yn gynnyrchydd gweithredoedd da fel ei ffrwyth naturiol, yn ol dadganiad y testyn am dano, fel pwnc o ffaith.

Wedi hyn o eglurhad, ymdrechwn ymdrin â'r mater osodwyd i lawr yn y wedd a ganlyn. Edrychwn yn

## I.

### AR Y CADW TRWY RAS FEL CYMHELLYDD I WEITHREDOEDD DA.

Dan ein penawd hwn, cofier mai yr olwg a gymerir ar y cadw trwy ras yw, fel cynllun dansoddol a luniwyd ar gyfer cadw, yn cynnwys egwyddorion a darpariadau tuag at achub dyn, sydd yn ddadblygiad digyffelyb o ddaioni a graslonrwydd Duw. Ond y cynllun hwnw *mewn bwriad* ac nid mewn gwaith, fel *trefn i* gadw ac nid fel iachawdwriaeth *yn cadw;* neu yn fwy croyw fyth, y cadw fel *peirianwaith* ac nid fel *iachawdwriaeth.* Fel y gellid synio am Feddygiaeth fel gwyddoreg cyn i neb gael ei wella drwyddi—am *Atlantic Steamer* fel peirianwaith cyn i'r un teithiwr gael ei gario drosodd arni —ac am yr *Hospital* fel sefydliad cyn i'r un claf gael amgeledd ynddi; felly hefyd gellir meddwl am y cadw trwy

ras yma fel gwyddoreg neu beirianwaith neu sefydliad a luniwyd gan anfeidrol ddoethineb ar gyfer amgylchiad pechadur ar wahan i'r gwella, y cludo a'r ymgeleddu a wnaed trwyddi ar gyflyrau miliynau, a dyna yr olwg a gymerir arni yn bresennol. Cynnwys ein gosodiad cyntaf ddwy ran.

Yn mlaenaf, *fod trefn y cadw yn gwbl o ras.*

Edrycher ar ei hachos cychwynol, neu ei chyfrwng haeddiannol neu ei dyben uniongyrchol, ac ni welir ynddi ond gras i gyd. O ras y tarddodd, ac ar draul gras y gweithiwyd hi allan.

(1.) Gras pur a dihafal oedd yr achos cychwynol o honi. Beth arall allasai fod felly? Nid dim yn y gwrthddrych. *Nid am fod ar Dduw eisieu dyn y lluniodd drefn i'w gadw.* Duw mewn eisieu am ddyn! Nid yw yn debyg! Y mae efe yn hunanddibynol ac yn hunanddigonol o ran dedwyddwch perffaith yn gystal ag o ran bodolaeth. Yr oedd efe yn anfeidrol ddedwydd cyn bod creadur erioed. Ac wedi iddo greu pobpeth, ynddo ei hunan y mae gwraidd ei ddedwyddwch ef o hyd. Gallai Duw fyw yn berffaith gysurus pe gollyngai y cread oll i diddymdra cyntefig; a bod mor ddedwydd pe na byddai dim ag ydoedd cyn creu pobpeth. Nid am fod ar ei fawredd eisieu rhywbeth nad oedd ganddo y creodd efe angel na dyn; ac nid am ei fod eisieu dyn y lluniodd drefn i'w achub pan aeth dyn yn bechadur.

*Ac nid o ddyled i ddyn ychwaith y gwnaed hyn.* Ni wnaeth Duw erioed gam â dyn fel ag i fyned dan ddyled iddo. Y mae'n iawn i bob un unioni y cam a wnelo; ond "pell oddiwrth yr Hollalluog weithredu anwiredd, canys efe a dâl i ddyn ei waith." Ni wnaed cam â dyn yn nghyfansoddiad ei natur. Cynnysgaethwyd ef â rheswm i farnu pethau, ac ewyllys rydd i ddewis fel y myno. Os yw yn druenus, y mae felly oblegid ei fod yn bechadur; ac os yw yn bechadur, y mae felly o'i wirfodd ac nid o orfod—dewis pechu a wnaeth dyn ar y cyntaf, a hyny yn ngwyneb rhybudd i beidio, ac ar draws argyhoeddiad fod pechu yn ddrwg a marwolaeth yn ei ddilyn. Felly y mae pob dyn yn bech-

adur hyd heddyw; a phechodau dynion eu hunain ydyw achos eu trueni. Fel nad ydyw Duw "yn gwneyd cam â gŵr yn ei fater," nac o dan ddim dyled i'w achub o'i drueni.

*Ac nid dim teilyngdod a welai Duw yn y dyn* pechadurus a allasai ei ysgogi i'w gadw. Dyn yn bechadur hagr, euog a chondemniedig i farw byth. A pha deilyngdod all fod mewn gwrthddrych felly? Ystyriwch eiriau Paul ar y mater yn y 3edd adnod. Y fath restr o ddrygau a gyfleir ganddo. "*An*noethion—*an*ufudd"—dim da yn y deall nac yn yr ewyllys. Ië, yr oedd drwg ynddynt—yn cyfeiliorni, yn gwasanaethu chwantau ac amryw feluswedd—dirywiad yn y farn a hunanoldeb yn llon'd y galon—"gan fyw mewn drygioni" a phob math o aflendid y gellid meddwl am dano. Pa hawddgarwch! pa ddymunoldeb! ïe, pa rithyn o gysgod un math o deilyngdod oedd mewn gwrthddrychau fel hyn! Byddai yn fwy priodol son fod yr haul yn cael ei gymhell i godi ar y ddaear oblegid melusder y wermod, neu hawddgarwch y domen, neu haelfrydedd y llofrudd, ag a fyddai meddwl fod Duw yn cael ei gymhell i lunio trefn i gadw pechadur ar gyfrif unrhyw harddwch neu deilyngdod all fod yn y pechadur. Na, na, nid o weithredredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni. Ymddangosiad daioni a chariad Duw tuag at ddyn ydoedd y drefn a luniodd i'w achub. Yn lle y gair "cariad," dyry ymyl y ddalen y gair "dynserch," neu ddyngarwch. Y meddwl gan hyny ydyw, "Eithr pan ymddangosodd daioni a dyngarwch Duw tuag at ddyn." Awgryma y gair olaf fod yr achlysur yn y dyn. "Dyngarwch" yn ei ystyr briodol yw y teimlad tosturiol a gynhyrfir gan *drueni* dyn. Nid edmygedd o ddyn fel dyn,—nid dyna gynhyrfodd Howard, a Wilberforce ac eraill o ddyngarwyr y ddaear; nage, ond ei drueni, ei ddiraddiad fel carcharor ac fel caethwas. Tosturi at y truan ydyw gwir ddyngarwch, fel y mae y gair trugaredd yn esbonio ei hun—*truangaredd.* Truangaredd ydyw "dyngarwch" Duw—fel mai yn nghyflwr y pechadur y cafwyd yr achlysur.

"Ein hiselradd ni" oedd achlysur y cofion dwyfol am danom. Ond y mae gwahaniaeth aruthrol rhwng achlysur ac achos peth. Cyfleusdra i weithredu ydyw y naill, tra mae y llall yn ysgogydd cychwynol y gweithrediad ei hun. A rhag i betrusder fod ar feddwl neb gyda golwg ar ysgogydd cychwynol trefn y cadw, rhoddir gair arall yn y 4edd adnod yn ochr y gair "dyngarwch," ac o'i flaen hefyd, i'w nodi allan—pan ymddangosodd "*daioni*" Duw. Yn ei feddwl ei hun, yn eigionau diwaelod daioni ei galon ei hun, y cafodd Duw ein Hachubwr reswm dros gofio pechadur o ddyn. Pan *ymddangosodd*—nid cofio dyn wnaeth Dduw yn drugarog—na, na, yr oedd yna hen gronfa o drugaredd yn chwyddo ei fynwes anfeidrol erioed. Ymddangos—nid dechreu bodoli, ond ymddangos, tywynu allan, rhwygo ei ffordd i'r golwg, a wnaeth y pryd hyny. Yr haul yn bod cyn i'r wawr dori yn y boreu—yn fyd mawr cynhes a dysglaer; ymddangos y mae wrth godi dros derfyngylch y ddaear. Ynddo ei hun y tarddodd y meddwl a'r cymhellydd. "Caraf hwynt yn rhad." Nid ydym ni yn medru caru yn rhad. Rhaid i ni gael, neu dybio ein bod yn cael, rhyw deilyngdod yn y gwrthddrych, cyn y rhoddwn ein serch arno. Y mae caru yn rhad yn beth sydd allan o'n cyrhaedd ni. Nid rhyfedd i'r Apostol waeddi allan, "Gwelwch pa fath gariad a roes y Tad arnom." Nid oes yn y greadigaeth yr un o'i fath. Cariad sydd wedi cael yr achos o hono ei hunan, ynddo ei hunan; ac wedi arllwys ei hunan allan at wrthddyrch na pherthynai iddo y gronyn lleiaf o hawddgarwch na theilyngdod. Diau fod caru fel hyn yn ras, ïe, onid yw yn ras? Ac o'r daioni cariadlawn hunan-gynhyrfiol yna, y tarddodd trefn y cadw. Yn ei hachos cychwynol trefn i gadw o ras glân gloyw ydyw hon.

(2.) Gras hefyd ddarparodd foddion ei gweithiad allan. O ras y tarddodd, a thrwy ras y gwnaed hi. Gras feddyliodd gyntaf am dani, a gras dalodd y draul o'i gwneyd yn ddeddf. Er cael y meddylddrych nid gorchwyl cyffredin oedd troi y

meddylddrych yn drefn sylweddol ac effeithiol. Costia plan palasdy ar y papyr lafur a dyfais, ond rhaid roddi amser ac arian a llafur mawr, cyn y corpholir y plan papyr yn adeilad gyfaddas i'r boneddwr fyw ynddo. Yr oedd cynllun rhyddhad y caethion yn meddwl Wilberforce er's blynyddau cyn troi yn ffaith. Yr anhawsdra oedd gwneyd y cynllun yn ddeddf, a gosod y ddeddf hono mewn gweithrediad ymarferol. Costiodd i Wilberforce lawer o egnïon teithiol ac areithyddol am ugain mlynedd i sicrhau hyny; cefnodd daith oedd fawr ar ei ymweliad â'r trueiniad, gorfu iddo fyn'd â'u hachos drachefn a thrachefn ger bon y wlad a'r Senedd; bu agos i bryder a gorlafur ei lethu i'r bedd cyn gweled ei gynllun yn ddeddf; ac wedi cyfreithloni y mesur, costiodd i'r Llywodraeth ugain miliwn i gymhwyso yn ymarferol ryddhad caethweision India. Ac yn y diwedd, Seneddwr arall a weithiodd y meddylddrych allan i bwynt, a'r Llywodraeth dalodd y gost. Ond am drefn y cadw, gras wnaeth y cwbl. Cysylltir hi yn y testyn â'r Tri Pherson Dwyfol—y Tad, y Mab a'r Ysbryd Glân. Y Duw Dad sydd yn y 4edd adnod, fel y gwelir oddiwrth y mynegiad sydd ynglŷn â'i ragenw yn y 6ed adn. Heblaw "Iesu Grist" a'r "Ysbryd Glân," ceir Person Dwyfol arall yn y 6ed adn. "Yr hwn," sef y Person cyntaf yn y Drindod. Ac y mae yr Ail a'r Trydydd yn yr un adnod dan eu henwau. Ac y mae pob un o'r tri yn dal cysylltiad â threfn y cadw. Desgrifir y Tad yn Dduw ein Hachubwr yn y 4edd adn., a'r Mab yn Iesu Grist ein Hiachawdwr yn y 6ed adn.; a desgrifir "golchiad yr adenedigaeth, yn adnewyddiad yr Ysbryd Glan." Fel y dywed y Beibl fod y Drindod oll yn gwneyd y greadigaeth ar y cyntaf—Duw yn y dechreuad yn creu y nefoedd a'r ddaear—mai trwy y Gair, yr hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw, y gwnaethpwyd pob peth—ac mai Ysbryd Duw oedd yn ymsymud ar wyneb y dyfnder, ac yn addurno y nefoedd—felly y dysg y testyn,

Fod Tri yn Un, ac Un yn Dri,
Yn ngwaith ein hiachawdwriaeth ni.

I ddangos mai trwy ras y gweithiwyd allan drefn y cadw, digon yw crybwyll y gwirionedd a awgrymir yn y 6ed adnod, sef mai cynllun a drefnwyd yn llaw Cyfryngwr ydyw. Trwy Gyfryngwr y gwnaed y cynllun yn ddeddf, ac ar sail haeddiant Cyfryngwr y cymhwysir y ddeddf newydd hon at gyflyrau caethion pechod gan yr Ysbryd Glân. Pan effeithir "adenedigaeth," y rhyddheir dynion oddiwrth ddeddf pechod, ond dysg y pump adnod mai gwaith yr Ysbryd Glân ydyw adenedigaeth, a dywed y chweched adnod i'r Ysbryd gael ei dywallt ar ddynion, *trwy* Iesu Grist ein Hiachawdwr. Ac nid hyny yn unig, ond yn llaw ac ar sail haeddiant Cyfryngwr y gwnaed cynllun y cadw yn ddeddf yn llywodraeth Duw. Cyfeirier i'r 14eg adnod o'r ail bennod, a cheir golwg ar y mater hwnw yn y cysylltiad yma. Y mae yna drefn wedi ei chyfreithloni i'n prynu—ein rhyddhau—ni oddiwrth bob anwiredd, ond sut y cafwyd hi, pwy dalodd y gost, pwy a'i dygodd oddiamgylch? Yr ateb yw "Yr hwn," sef yr "Iachawdwr Iesu Grist," a hyny trwy roddi "ei hun drosom." Ië, ei Hun, nid trwy roddi byd o fater, neu angel neu rywbeth wnaed ganddo—nid trwy roddi yr orsedd yr eisteddai arni, y goron berlog a wisgai, neu rywbeth a berchenogai fel Etifedd gwreiddiol pob peth, ond ei "*Hun*"—nid ei hunanymwadiad trwy ymgnawdoli, nid ei esiampl berffaith yn ystod ei dabernacliad ar y ddaear—ond rhywbeth uwch, gwell, nês ato, anwylach ganddo ei Hun—ei fywyd. "Rhoddes"—o'i wirfodd—rhoddes ei hun—i farwolaeth—drosom ni, yn iawn, yn aberth drosom ni. Trefn ydyw hon a weithiwyd allan, "trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr." Y mae yr ysgrythyrau a nodwyd mewn cysondeb â'r testyn yn dysgu dau beth amlwg iawn. *Un peth ydyw mai hanfod gweithiad allan meddylddrych y cadw yw cyfryngoliaeth Crist.* Efe gymerodd achos pechadur arno ei hunan—Efe gan ateb a ddywedodd wrth ei Dad, "Wele fi, anfon fi"—Efe a wynebodd y daith o uchder nef i barthau isaf y ddaear—Efe yw y

Duw ymddangosodd yn y cnawd—a gymerth ein gwendid ni ac a ddyg ein doluriau. Ië, diolch iddo! "Iesu Grist" yw cyfaill pechadur—trwyddo ef y gwnaed ewyllys y Tad gyda golwg ar ddyn truenus yn ddeddf y llywodraeth. Efe yw yr hwn ar ol talu ymweliad â gwlad y caethion a esgynodd i'r uchelder, a aeth i mewn i'r nef ei hun i ymddangos ger bron Duw drosom ni, gan geisio i ni dragywyddol ryddhad. A *pheth arall* yw, mai *sail hanfodol cyfryngoliaeth Crist ydyw yr Iawn a gaed ynddo.* Trwy ei waed ei hun yr aeth efe unwaith i mewn i'r cysegr—fel un a offrymodd ei hun trwy yr Ysbryd tragywyddol, y cafodd efe sail i gael i ni dragywyddol ryddhad. Ar sail iawn y mae yr holl achos yn pwyso fel adeilad ar ei sylfaen. Arweinir ni yn awr i wyneb dau gwestiwn eang a phwysig mewn duwinyddiaeth; sef pa beth sydd yn cyfansoddi yr Iawn? A pha beth oedd yn gwneuthur yr Iawn yn anghenrheidiol? Amser a ballai i ymhelaethu arnynt ar hyn o bryd, ac nid ydyw cynllun ein prif fater yn galw am hyny ychwaith. Digon yw crybwyll yma mai "Efe yw yr Iawn." Dyma ddefnydd cauad aur trugareddfa Cristionogaeth. Efe yn yr hyn a wnaeth dros bechadur a olygir. Oblegid os nad felly, paham y buasai i Fab Duw ymddangos ar y ddaear o gwbl? Yr oedd ei Berson mor werthfawr cyn ymgnawdoli a marw ag ydoedd wedi hyny. Ar gyfrif rhywbeth a wnaed gan y Person Dwyfol hwn, y dywedir am dano mai Efe yw yr Iawn. Ac er na fynem ranu yr hyn a wnaeth, eto credwn mai ei *act* bwysicaf goronol sydd yn brif elfen yr Iawn ydyw marwolaeth Crist ar y groes. Yn ol dysgeidiaeth y Bibl, trwy "ollwng gwaed" y caed awdurdod i faddeu; "trwy ffydd yn ei waed ef" y gellir adnabod cyfiawnhad; trwy i Grist ddyoddef unwaith yn y cnawd, yr aeth y Cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y'n dygid ni at Dduw. Y groes ydyw prif elfen yr Iawn, ar sail yr hwn mae Iesu Grist yn obaith holl gyrau y ddaear.

Dichon y ceir cyfleusdra eto i ystyried yr anghenrheid-

rwydd am Iawn. Gofynir yn aml y dyddiau hyn, Paham nad allasai Duw faddeu i'r edifeiriol fel Tad heb Iawn o gwbl, fel y tybir y gwnaeth tad y mab afradlon? Ac eir mor bell gan rai a gwadu y posiblrwydd o Iawn o gwbl. Dadleuant nad oes gan neb hawl i aberthu ei hun dros arall, fod y fath beth yn dramgwydd i synwyr moesol bodau rhesymol. Arweinia hyn ni i dir eangach fyth, i ystyried y cwestiwn mawr sydd dan yr holl fater, sef y cwestiwn o bosiblrwydd Iawn? Teimlo yr ydym mai ar dir dirprwyaeth y dylid sefyll i ateb y gofyniad hwn, ac fod y tir hwnw yn gadarn a sefydlog. Pwy a wad nad oes gan un bôd rhesymol hawl i gymeryd dyddordeb yn achos bôd rhesymol arall—i ystyried ei drueni a theimlo drosto? Ac os oes ganddo hawl i deimlo drosto, paham nad all weithredu ar ei ran, a gwneyd llawer drosto—hunanymwadu er ei fwyn? Hyny yw, tra y gwneir hyny heb i'r cymwynaswr golledu eraill trwy hyny. Addefaf nad oes genyf hawl i dalu dyled truan âg arian pobl eraill. Ond pwy all warafun i mi ddefnyddio yr eiddof fy hun i bwrpas felly? Teimlodd Crist yn achos pechadur, disgynodd i'w waredu a rhoddodd ei fywyd i lawr er mwyn yr amcan. Ond cofiwch, efe a ofalodd am hysbysu y cydfyd mai ei eiddo ei hun a wariai, ac ar y tir hwnw fod ganddo awdurdod i roddi ei einioes i lawr, ac awdurdod i'w chymeryd hi drachefn? A beth sydd yn anghyfiawn, neu yn dramgwydd i synwyr moesol neb, yn hyn? Eto dyma egwyddor fawr sylfaenol yr Iawn. Gallwn deimlo yn hyderus fod Iawn yn bosibl—fod anghenrheidrwydd am dano cyn y gellid maddeu i droseddwr, ac fod yr Iawn a gaed yn Nghrist Iesu yn berffaith gyfaddas, ac yn dragywyddol ddigonol i bob pwrpas ac amcan. "*Iawn*" ydyw—nid ymgais, nid cyfran, nid *toleration act*, ond *Iawn*.

Na thybiwch i ni grwydro oddiwrth ein pwnc yn yr ymdriniaeth yna. Yr ydym yn ei ganol o hyd; oblegid ein pwnc ydyw, fod trefn y cadw, yn ei gweithiad allan, yn gwbl o ras, a beth a esyd y pwnc yna allan yn

amgenach na'r ystyriaeth mai trefn i gadw mewn Iawn ydyw? Agorwch eich llygaid. Pwy ddarparodd Iawn? Beth ydyw? A beth gynnwysir yn y fath ddarpariaeth? Beth a welir, ond gras, gras noeth, gras i gyd. Nid ydyw cadw mewn Iawn ond ffordd o siarad, yn golygu fod gras yn darparu trefn i gadw ar ei thraul ei hun. Duw a edrychodd iddo ei hun am oen y poethoffrwm. Wilberforce gynhyrfodd y pwnc o ryddhâd y caethion, ond Prydain dalodd y gost. Ond yma, gras wnaeth yr oll. Y mae yma achub mawr—cyfiawnhâu, aileni, a gwneyd rhai heb ddim yn etifeddion bywyd tragywyddol—rhyddhâu caethwas pechod ol a blaen, ar y dde ac ar yr aswy. Trefna maddeuant ryddhâd oddiwrth a fu, adenedigaeth ryddhâd oddiwrth orthrwm presennol, ac y mae y gobaith da a roddir iddo, yn clirio pyrth y dyfodol o'i flaen i bob tragywyddoldeb. Ond trwy ras y gwneir y cwbl. Rhaid fod yna draul enfawr. Oes y mae, ond gras sydd yn cyfarfod hono hefyd—cadw mewn Iawn ydyw. Ac wedi cael y fath Iawn mawr, gall gras fforddio bod yn hael, ac wynebu pob gofynion gyda theimlad eofn. Nid all fod dyled rhy fawr i'w hadnoddau; yr un peth iddi bellach ydyw maddeu y pum' cant fel y deg a deugain. Ynglŷn â'r brynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, sonir am "gyfoeth ei ras ef," "rhagorol ras Duw," ac eir mor bell a dadgan ei fod yn "anchwiliadwy olud."

Wedi yr olwg a gawsom ar drefn y cadw yn gwbl o ras, mae yn bryd symud cyn i'r teimlad oeri at *ail ran ein gosodiad cyntaf*, sef yn 2. *Fod y drefn sydd yn cadw felly yn gymhellydd i weithredoedd da.*

Ië, y drefn sylwch, ac nid yr ymgeledd a geir trwyddi. Mae yr olwg ar y plan ynddo ei hunan yn gymhellydd i haelioni a chymwynasgarwch cyffelyb. Nid son am ffrwyth gras yn y galon yr ydym; mae hyny yn y testyn, a daw i fyny dan ail benawd y bregeth. Siarad am y drefn fel cymhellydd yr ydym yn awr. Y mae *idea* y cynllun yn cyfansoddi cymhellydd o'r fath rymusaf i feddwl ystyriol

sydd â rhyw ronyn o anrhydedd ynddo, i fod yn barod i bob gweithred dda.

(1.) I ddechreu yn y gwaelod, dadleuwn ei bod felly yn ngoleuni egwyddor uniondeb masnachol: "Derbyniasoch yn rhad, rhoddwch yn rhad."

Y mae bodau isel, lled hunanol, yn teimlo nerth yr egwyddor yma. Gwnant gymwynas ar ol cael cymwynas. Er syched ei ysbryd ydyw y Sais, cydnebydd ef "that one good deed demands another." Dyna yr egwyddor a ddadleuwn yn awr. Addefwn mai un lled fydol ydyw, i ddelio yn benaf gyda chymeriadau sych-gyfiawn a hunanol. Ond gan fod sail iddi yn mhwnc y testyn, gwnawn ddefnydd o honi, a dadleuwn am i chwi fod yn barod i bob gweithred dda tuag at Dduw. Addolwch ef, diolchwch iddo—gwnewch ei orchymynion—ymwasgwch at ei bobl—anwylwch ei Air a pharchwch ei Fab. Dylech wneyd hyny oblegid bu ef yn dda wrthych chwi, meddyliodd am danoch feddyliau o hedd; nid arbedodd, ond traddododd ei briod Fab drosom ni oll; mae yn awr yn cynnyg maddeu holl bechodau eich oes, ac adgenedlu ynoch obaith bywiol i etifeddiaeth anllygredig, ddihalogedig, anniflanedig, ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi, a'r cwbl yn rhad, yn ol rhagorol olud ei ras ef. Derbyniasoch yn rhad, rhoddwch yn rhad.

Byddwch barod i bob gweithred dda tuag at ddynion—i gymeryd dyddordeb ynddynt, teimlo drostynt, a'u cynnorthwyo—bod heb gablu neb, yn anymladdgar, yn dirion, gan ddangos pob addfwynder tuag at bob dyn (ii. 2—10). Dylech wneuthur hyny, canys gwnaeth Duw lawer mwy i chwi, a'r cwbl yn rhad; ac os derbyniasoch yn rhad, rhoddwch yn rhad. Fel ar y tir isel o uniondeb masnachol, daw y cadw trwy ras yn gymhellydd grymus i weithredoedd da. Ond y mae yna dir uwch, sef yn

(2.) Dylanwad esiampl dda o haelfrydedd.

Esiampl ydyw y ffurf rymusaf o gymhellydd sydd yn bod. Y mae morthwyl esiampl yn tori mwy o esgyrn na gordd egwyddor ddansoddol. Haelfrydedd ydyw yr egwyddor

gryfaf all fod mewn esiampl. Dyweder a fyner, mae da yn gryfach na drwg, a chariad na chasineb. "Cariad sydd gryf fel angeu." "Dyfroedd lawer ni allant ddiffoddi cariad, ac afonydd nis boddant." Haelfrydedd Duw ydyw y cariad mwyaf sydd yn bod; ond yn nhrefn y cadw trwy ras, mae ei gariad ef mewn esiampl, ac felly yn cyfleu y cymhellydd grymusaf sydd yn bosibl ar feddwl creadur. Wrth gwrs cymhell i'r gyfryw egwyddor mae esiampl. Yn y byd moesol, fel y naturiol, tueddu i gynnyrchu eu rhyw mae egwyddorion, a chenedlu ar ei ddelw ei hun mae haelfrydedd. Dywedwn eto, fod hanes y siampl *noble* o haelfrydedd a wnaeth y Duwdod mawr, yn nhrefn y cadw trwy ras, yn cymhell pawb a'i darllenant, neu a glywant son am dano, i geisio meithrin ewyllys da yn ei fynwes ei hun at Dduw a dynion. Pwy all ymddwyn yn ddrwg ewyllys a chrintachlyd at Dduw, tra yn edrych ar gyfoeth cariad Duw yn y cadw trwy ras? Neb ond adyn iselwael fel y diafol, neu ryw greadur o ddyn sydd ar fin myned yn gythraul. Y mae ambell ddyn mor anrhydeddus ei gymeriad fel na feiddia neb ond y cerlyn culaf ei enaid a rewodd bydolrwydd erioed, wneyd tro sâl yn ei ŵydd, llawer llai tuag ato. Ond beth am haelfrydedd Duw? Dyma *honour!* Dyma siampl o'r *noble* a'r dyrchafedig! Sut na fyddai gan y dyn yna gywilydd gwneyd tro iselwael yn ei ŵydd, heb son am ddelio felly tuag ato ef ei hun. Rhaid fod pobl yn anghofio y cadw trwy ras cyn y gallent gablu ei enw, gwrthod ei addoli, esgeuluso ei dŷ a'i waith, a diystyru ei air a'i Fab. Os oes yna rywun ddymunai galon hael, edryched ar haelioni Duw yn Nghrist Iesu. Credwyf fod dylanwad siampl y Duwdod yn hyn wedi gwneyd lles i'r cydfyd yn yr ystyr yma—fod angylion yn fwy haelfrydig byth wed'yn; ac mai dyma un ffordd oedd gan Dduw i droi trefn cadw dyn yn elw i'r holl greadigaeth.

Y cariad neu yr haelfrydedd yma a gynnyrchir gan ddylanwad esiampl o hono yn y cymeriad dwyfol, ydyw gwir egwyddor gweithredoedd da. Heb hon, baich yw pob

gweithred dda. Ond wedi cael hon, rhediad y galon yw bod "yn awyddus i weithredoedd da." "Mae cariad yn gymwynasgar," o anianawd naturiol. Pleser cariad ydyw golchi traed ei chymwynaswr â'i dagrau, a'u sychu â gwallt ei phen; tyr flwch o enaint gwerthfawr i eneinio ei gorff erbyn dydd ei gladdedigaeth, heb yn wybod iddi ei hun. A thra y dyry y gogoniant i Dduw, dymuna ar y ddaear dangnefedd, i ddynion ewyllys da. O! y mae y galon a gymer ei chymhell i haelfrydedd gan gariad Crist, mewn tymher ardderchog at waith da, a gwna fel y mynoch. Nid yw yn gofyn i bwy, neu i ba bwrpas, neu beth fydd y draul? O na, mae yn barod i *bob* gweithred dda. Gwna fel ei phatrwn hyd eithaf ei gallu, ac wrth edrych ar hwnw, hi a wêl

Fod cadw trwy ras yn golygu caru yr annheilwng. Dichon y teimlai y Cretiaid, nad oedd y "tywysogaethau," sef yr Ymherawdwyr Rhufeinig, na'r "awdurdodau," sef y rhaglawiaid oedd danynt, yn deilwng o'u gwarogaeth a'u hymostyngiad a'u parch, ac mai eu dyledswydd oedd codi mewn gwrthryfel i'w herbyn yn hytrach na'u caru. Ond barnai Paul fel arall, ac i wasgu hyny adref adgofiai hwynt mai caru yr annheilwng wnaeth Duw yn y cadw trwy ras. "Cerwch eich gelynion"—yr annheilwng; felly y byddwch fel y mae eich Tad yn berffaith.

Y mae y cadw trwy ras hefyd yn golygu caru yr annheilwng oblegid ei fod yn druenus. Dyma syniad y Testament Newydd am wir haelfrydedd, neu weithredoedd da. Dyma "ddyngarwch" Duw. Gwahodd y tlodion, y cloffion, &c. "Yn unig ar fod i ni gofio y tlodion." Ond yn gwneuthur daioni a *chyfranu* nac anghofiwch."

Yn golygu ei garu fel ag i geisio ei waredu. Caru mewn gweithred. Daioni wedi ymddangos ydyw yr eiddo ein patrwm mawr. Yr achubodd efe nyni. Ein cyfiawnhau fel y'n gwnelid yn etifeddion, yn ol gobaith. Gwella ein rhagolygon. Nid teimlo a wylo a siarad yn unig, ond achub ydyw, ac y mae *yn golygu* gwneyd yr oll ar ein

traul ein hunain. Felly y gwnaeth gras Duw. Peidiwn ag ofni ychydig o draul. Ysbryd Judas yr Iscariot sydd yn gofyn "I ba beth y bu y golled hwn? Am dori y blwch enaint y mae "gweithred dda." Crefydd yn hawlio traul. Hwyrach mai dyma un rheswm paham y gosodwyd yr achos ar ein hysgwyddau ni, i'n dysgu i beidio ofni traul gyda'n gweithredoedd da. Gallasai ef ei gario ymlaen ar ei ysgwyddau ei hunan. Lluniodd y ddaear, prynodd y ddaear ar ei draul ei hunan, ond gadawodd dreulion ei achos i ni. Gallasai greu addoldai fel y creodd y ddaear, a chenadu angylion i bregethu yn lle dynion. Gallasai engyl bregethu heb flino, gofalu am y gylchdaith yn llawer gwell na ni, heb bwyso ar elusen yr un o honoch. Cawsid hebgor casgliadau cyhoeddus wythnosol a chwarterol. Oni fuasai hyn yn braf. Na, nid mor braf; oblegid pe felly, aethai pobl yn fydol a hunanol a didduw, wrth geisio cyflawni gweithredoedd da nad oeddynt yn costio dim iddynt. I'n cadw rhag hyny, rhoddodd Duw yr achos i'n gofal, i'n dysgu y rhaid i haelfrydedd o'r iawn ryw gostio arian, ac y dylai pawb sydd am efelychu daioni Duw wneuthur gweithredoedd da ar ei draul ei hun.

Rhaid gadael yr ail olygwedd ar y mater hyd yr oedfa nesaf, a therfynu.

---

## YR OEDFA YN MYNWENT TALGARTH,

GAN

HIRAETHOG.

Ar ryw fore (Sabboth, mae'n debygol) yn y flwyddyn 1738, dyna sain cloch Llan blwyfol, mewn pentref neillduedig yn Sir Frycheiniog, yn gwahodd yr ardalwyr i ymgynnull ynghyd i'r gwasanaeth crefyddol. Ymgynnulla lliaws at eu gilydd. Yn eu

mysg, dacw ŵr ieuanc oddeutu un ar hugain oed, o gorff lluniaidd, a thaldra canolig, ac ymddygiad mwy boneddigaidd na'r cyffredin, yn myned i mewn i le yr addoliad. Telir sylw mwy na chyffredin iddo. Y mae naill ai yn ddyeithr yn y lle, neu y mae newydd ddychwelyd i blith cydnabyddion wedi cryn absennoldeb. Craffwch arno! y mae rhywbeth yn ei wynebpryd a dynodiant ei lygaid a bar i chwi deimlo rhyw fwy o ddyddordeb ynddo nag mewn unrhyw ŵr ieuanc arall drwy yr holl gynnulleidfa; ond ni wyddoch yn iawn pa beth ydyw chwaith: rhywbeth ydyw na ellwch roddi cyfrif am dano, ac na ellwch chwaith help i chwi eich hunain wrtho. Pâr i chwi yn awr ac yn y man, drachefn a thrachefn, daflu eich llygaid arno, bron yn ddiarwybod i chwi eich hun. Dyma y gweinidog yn dyfod i mewn, a'r gwasanaeth yn myned i ddechreu. Ar hyn, wele ŵr canol oed, lled fyr o gorffolaeth, o agwedd ddifrif-ddwys anghyffredinol, yn dyfod i'r lle. Y mae pob llygad yn y synagog yn canolbwyntio arno. Cynhyrfa yr olwg arno wahanol deimladau yn y gynnulleidfa, y rhai a ddadguddiant eu hunain drwy lygaid a delweddau wynebpryd y naill a'r llall. Ei ymddangosiad a dery fath o syndod ac arswyd drwy y lle. Y sylw a'r teimladau rhyfeddol a gynhyrfid fel hyn drwy ei ymddangosiad a ennyn gywreinrwydd y gŵr ieuanc y buom yn edrych arno, a gofyna yn wylaidd a dystaw i'r agosaf ato, 'Pwy yw y gŵr rhyfedd hwn sydd yn ennill y fath sylw cyffredinol ato?' Yr ateb ydyw, 'Dyna Howel Harries!' Y mae meddwl a llygaid y gŵr ieuanc yn y fan yn cael eu hoelio wrtho. Clywsai bethau rhyfedd am dano, ond ni welsai ef o'r blaen. Dyma y dyn hynod oedd yn aflonyddu y byd, ac fel yn gyru dynion a chythreuliaid i gynddeiriogrwydd, yn awr o flaen ei lygaid! Edrycha arno gyda gradd o ofn a chryndod.

Dyna y gwasanaeth ar ben; rhedasid drwyddo mewn dull sychlyd a marwaidd. Arweinir y gynnulleidfa allan gan y gweinidog; ä efe ymlaen, gydag un neu ddau o'i blwyfolion, tua'r persondŷ; ond erys y gynnulleidfa ar y fynwent, ac ymgasgla eraill o'r pentref a'r wlad oddiamgylch atynt. Erys y gŵr ieuanc hefyd ar ol. Ymhen ychydig dyma y gŵr a welsom gynau yn dyfod i'r llan yn esgyn ar gareg fedd, a phob llygad wedi ei adsefydlu arno. Y mae bywiogrwydd anghyffredin yn gerfiedig ar lygad ac wynebpryd y gŵr ieuanc yn awr. Dyna genad y nef yn agoryd ei enau. Y mae ei lais fel sŵn taranau cryfion, neu adsain dyfroedd lawer; disgyna ei eiriau fel tân poeth ar y bobl. Newidia

lliw eu hwynebpryd gyda phob ymadrodd. Ai yr un bobl a welwn yn awr yn y fynwent ag a welsom ychydig fynydau o'r blaen o fewn y muriau yna?Ië, yr un bobl gan mwyaf ydynt; ond nid yr un yw y pregethwr. "Y mae hwn yn llefaru fel un âg awdurdod ganddo, ac nid fel yr ysgrifenyddion." Gafaela rhywbeth yn meddyliau a chydwybodau y bobl yn awr a bâr i'r cryfaf ei galon frawychu, ac i'r gliniau cadarnaf guro yn erbyn eu gilydd. Y mae fel pe byddai y nefoedd yn gwlawio tân a brwmstan am eu penau. Llenwir rhai o gynddaredd yn erbyn y pregethwr a'i athrawiaeth; eraill a lesmeiriant dan bangfeydd o argyhoeddiad cydwybod; eraill a lefant allan, "Pa beth a wnawn ni?" Y mae yn gyffro cyffredinol; ond pa le y mae y gŵr ieuanc dyddorgar hwnw? Dacw efe, a'i wyneb wedi gwynlasu, a'i holl gorff yn ysgwyd gan gryndod a braw. Y mae yn wir ddelw o ddychryn. Dysgwylia bob moment weled Mab y dyn yn dyfod ar gymylau y nefoedd—aeth rhyw saeth loyw-lem oddiar fwa athrawiaeth y gŵr sydd ar y gareg fedd acw i'w galon. Y mae cleddyf daufiniog wedi ei drywanu hyd wahaniad yr enaid a'r ysbryd. Y mae ganddo olwg wahanol arno ei hun yn awr i'r hyn a fu ganddo erioed o'r blaen. Mewn gair, y mae yn ddyn newydd! Daeth allan o'r fynwent y boreu hwnw wedi ei greu o newydd.

# XLV.

## EFFAITH YMARFEROL Y CADW TRWY RAS.

"*Dwg ar gôf iddynt fod yn ddarostyngedig i'r tywysogaethau a'r awdurdodau, fod yn ufudd, fod yn barod i bob gweithred dda. Bod heb gablu neb, yn anymladdgar, yn dirion, gan ddangos pob addfwynder tuag at bob dyn. Canys yr oeddym ninnau hefyd gynt yn annoethion, yn anufudd, yn cyfeiliorni, yn gwasanaethu chwantau ac amryw feluswedd, gan fyw mewn drygioni a chenfigen, yn ddigasog, yn casâu ein gilydd. Eithr pan ymddangosodd daioni a chariad Duw ein Hachubwr tuag at ddyn, nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni, trwy olchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân; yr hwn a dywalltodd efe arnom ni yn helaeth, trwy Iesu Grist ein Hiachawdwr: fel, gwedi ein cyfiawnhâu trwy ei ras ef, y'n gwneid yn etifeddion yn ol gobaith bywyd tragywyddol. Gwir yw y gair, ac am y pethau hyn yr ewyllysiwn i ti fod yn daer, fel y byddo i'r sawl a gredasant i Dduw ofalu ar flaenori mewn gweithredoedd da. Y pethau hyn sydd dda a buddiol i ddynion.*"—TITUS iii. 1—8.

### II.

Y CADW TRWY RAS FEL CYNNYRCHYDD GWEITHREDOEDD DA.

Byddai yn gyfleusdra tuag at gymeryd golwg felly, i sefydlu ac egluro tri gosodiad cyffredinol. Yn

1. *Sylwn ar drefn y cadw yn ei gweinyddiadau achubol.*

Y mae yn naturiol gofyn beth yw iachawdwriaeth weithredol? Beth yw enwau a natur y bendithion a gyfrenir? Beth

yw trefn y gweinyddiad o honynt? Pa un ydyw y fendith gyntaf ddaw i afael y pechadur? A pha bryd? A phan ddaw, beth wed'yn? Dyry y testyn atebion i ofynion o'r fath mewn iaith groyw a hawdd ei deall. Wrth gwrs y mae yna delerau neillduol i'w cyflawni o du y pechadur cyn y cedwir ef. Rhaid i bob pechadur sydd yn gobeithio cael ei gadw trwy ras, edifarhau am bechod, a chredu yn yr Arglwydd Iesu Grist. Ac y mae yr ammodau hyn yn rhesymol ynddynt eu hunain. Dywed rheswm y dylai troseddwr edifarhau—sef cydnabod a gadael ei fai—cyn cael maddeuant. A'r fath ydyw cyfansoddiad meddwl dyn fel na byddai yn bosibl ei adfer i rinwedd a dedwyddwch heb iddo osod ei hyder ar Dduw yn Nghrist Iesu. Hoffwn wasgu y dyledswyddau hyn ar bob cynnulleidfa, a gofalu am beidio traddodi pregeth un amser ar y cadw trwy ras heb argymhell edifeirwch yn gystal a maddeuant,—dyledswyddau dyn yn gyferbyniol â doniau Duw.

Ond gwel pawb mai yr ochr ddwyfol i iachawdwriaeth yn unig sydd yn y 3—5 adn.; ac fel y ceir egluro eto, y mae'n hawdd gweled yr achos o hyny. Yn ol hyfforddiad y testyn, ceir tri phlyg mawr cwrs cadw enaid yn y tri gair canlynol. Yn

(1.) *Cyfiawnhad*, adn. 7: "Fel gwedi ein cyfiawnhau."

Dyma y gweinyddiad achubol cyntaf o ran trefn ar gyflwr pechadur crediniol. Ymadrodd cyfreithiol ydyw ag iddo ystyr newydd yn yr efengyl. Nid clirio y diniwed, ond maddeu i'r euog, a'i godi trwy faddeuant i dir mor ddiogel ac anrhydeddus a phe na phechasai erioed. Yr un peth mewn sylwedd a maddeuant. Dynoda y naill a'r llall gyfnewidiad *perthynasol*—oddiallan i'r dyn. Ac er na enwir y bendithion achubol yn ol y drefn yna yn y testyn, mae yn amlwg oddiwrth ysgrythyrau ereill yn gystal ag oddiwrth natur pethau mai y fendith gyntaf o ran trefn ydyw cyfiawnhad neu faddeuant. Gwna ail enedigaeth ddyn yn dduwiol, ond dysgeidiaeth bendant y Testament Newydd yw mai yr *annuwiol* a gyfiawnheir. Gan hyny

rhaid fod cyfiawnhad yn blaenori adenedigaeth. Ymhellach, rhaid mai fel hyn y cymer pethau le, neu ynte fod adenedigaeth yn effaith heb achos i gyfrif am dano. Mae adenedigaeth yn cynnwys cyfnewidiad yn naws y serchiadau, neu yn ol iaith y Bibl yn "dywallt cariad ar led y galon"—dwyn dyn i garu Duw, nid yn unig fel mater o ewyllys da, ond â'i serchiadau. Y moddion i gynnyrchu cariad ydyw dangos cariad—yr amlygiad effeithiolaf o gariad at ddyn ydyw maddeu ei bechod, a chario y wybodaeth hono i ymwybyddiaeth y maddeuedig ydyw yr hyn a feddylir wrth dystiolaeth yr Ysbryd Glân. Maddeuant sydd weithred a gymer le yn meddwl Duw; ond pan gymer y weithred fendigedig le yn y meddwl dwyfol, mae yr Ysbryd, yr hwn sydd yn chwilio dyfnion bethau Duw, yn cyfleu y ffaith i brofiad y credadyn, ac yn y weithred o wneuthur hyny yn ennill serch y dyn i garu Duw yn ol; neu mewn geiriau ereill, yn ei aileni. Os felly, fel mae yn rhaid i achos flaenori effaith, mewn pwynt o drefn rhaid i gyfiawnhad ragflaenu adenedigaeth. Ië, dyma y fendith gyntaf a roddir i bechadur wrth ei achub. Syrthio ar ei wddf a'i gusanu oedd y peth cyntaf wnaeth y tad i'r mab afradlon wrth ei dderbyn adref,—maddeu iddo yn gyntaf peth. A mawr ymwared ydyw derbyn maddeuant pechodau. I rai yn yr oedfa yma gawsant olwg iawn ar y cyflwr—a arweiniwyd at odreu Sinai i swn yr udgorn a'r taranau, i olwg y mellt, y tân a'r mwg, i gyffyrddiad â'r mynydd sydd yn lladd, ac at ystol-droed Duw, Barnwr pawb; i'r rhai, meddaf, a welsant eu pechodau yn ngoleuni fflamau Sinai, ac a sylweddolasant eu sefyllfa nes teimlo barn angeu ynddynt eu hunain—fod y ddedfryd i'w herbyn ac yn cynnwys marwolaeth—fod y cwmwl du llwythog oedd uwch ben bron ar dori—fod rheswm a chydwybod, deddf a Duw, daear ac uffern a nefoedd yn cytuno i'w bwrw yn euog. Ah! pan mewn bwlch felly y clywir son am Gyfryngwr yn llefaru rhag i ni farw, yr ymddengys bwa seithliw gobaith ar draws

y cwmwl du, y clywir meluslais trugaredd yn gorfoleddu yn erbyn barn, yr ymwthia "gwaed y taenelliad" rhyngom a'r Duw byw, a chan ymlid y tywyllwch a'i ddylanwad, diffoddi y mellt mewn gwaed, a boddi rhoch y taranau yn "swn mwy hoff a sain mwy hyfryd" ei hacenion ei hun, ac y daw maddeuant oddidraw i ddileu yr euogrwydd ac i gymmodi y truan oedd ar farw, gyda Duw;

> "Heddwch, heddwch, yw yr iaith,
> Wna 'r fron yn nef ar unwaith."

Tamaid melus annesgrifiadwy ydyw profiad o fendith gyntaf y cadw trwy ras. Ond nid un fendith yn unig sydd gan ein Tad nefol; mae ganddo ef lawer o'r fath bethau, ac y mae derbyn un yn barotoad ac yn ernes o chwaneg.

Symudwn at yr ail, sef *Adenedigaeth*, a nodir yn rhan olaf y bummed adnod.

Cyfnewidiad mewnol ydyw hwn, ac yn arbenig felly yn cynnwys adferiad y *serchiadau.* Mae y meddwl yn cael ei ddosbarthu gan athronwyr dan dri phenawd,—y *dealltwriaeth*, yr *ewyllys*, a'r *teimladau.* Dynoda yr olaf y cyfaddasrwydd sydd genym i bob math o deimladau, ac yn neillduol felly golyga y serchiadau a'u tylwyth. Y mae achub pechadur trwy ras yn adferu y tri gallu yma i'w cyfeiriad a'u naws priodol. Yn yr argyhoeddiad iawn-gyfeirir sylw a deffroir holl alluoedd y dealltwriaeth. Yn yr act o edifarhau a chredu adferir yr ewyllys i'w chyflwr priodol. Ond er hyn oll rhaid cael rhyw oruchwyliaeth i ennill y serchiadau i redeg yr un ffordd a'r ewyllys cyn y bydd yr holl ddyn wedi ei achub; a dwyn yr olaf o amgylch yw yr hyn, mewn modd neillduol, a effeithir yn ngolchiad yr adenedigaeth. Pan wneir hyn y rhyddheir dyn oddiwrth lywodraeth fewnol pechod, ac y dygir ef i garu Duw a'i bobl a'i waith. Baich ydyw gair yr Arglwydd cyn hyn. Ond bellach daw pob peth yn hyfrydwch. Profiad yr ailenedig ydyw, "Da genyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw,

a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Y mae y cyfnewidiad yn un pwysig a thrwyadl. Sylwch ar y termau a ddefnyddir i'w osod allan. "*Ad*enedigaeth"—genedigaeth drachefn. Mae pawb dynion wedi cael eu geni unwaith, ond nis gall neb o honom fod yn dduwiol heb gael ein geni eilwaith. Trwy y cyntaf gwnaed ni yn blant dynion, ond trwy yr olaf y gwneir ni yn blant Duw. Ië, *geni* drachefn a ddywedir. Nid diwygiad allanol, nid dyfalwch gyda'r moddion, ac nid cyfnewidiad sacramentaidd wnaiff y tro, ond rhaid ein geni ni drachefn. Beth all fod y meddwl a gyflëir trwy y fath ymadrodd? Rhaid fod yna rywbeth sylfaenol a hollol mewn golwg. Yn y geni cyntaf dygir dyn i fyd hollol newydd, ac i'r byd y rhagddarparwyd ein cyfansoddiad i'w breswylio. Y meddwl yn syml yw hyn:—ein genedigaeth ydyw *dechreuad ein bywyd yn y byd.* Ond yn y testyn sonir am *ad*enedigaeth, a beth yw hyny amgen na'r cyfnewidiad sydd yn *ail ddechreuad bywyd yn y byd:*—y modd y'n dygir ni i fywyd hollol newydd, ac i'r byd newydd y crëwyd ni gan Dduw ar ei gyfer. Dysgir ni trwy hyn oll fod adenedigaeth yn gyfnewidiad mawr, ië, trwyadl a hollol. Creu o'r newydd ydyw—adnewyddiad yr *ysbryd*—yn naws sylfaenol y meddwl; a phan gymer y cyfnewidiad hwn le, bydd y nwydau, y tymherau, y cymhellion, yr anian, a'r serchiadau wedi newid yn hollol—"yr hen bethau oll aethant heibio, wele! gwnaethpwyd pob peth o'r newydd."

Ond yn y testyn cysylltir gair arall gydag adenedigaeth, i'w ddynodi, "*Golchiad* yr adenedigaeth." Gwneir hyny i ddysgu dau beth parth adenedigaeth. Un ydyw, *mai yr Ysbryd Glân ydyw awdwr y cyfnewidiad.* Ceir egluro hyny dan ein gosodiad nesaf. Y meddwl arall a gyflëir trwy y gair hwn ydyw fod y cyfnewidiad hwn yn effeithio yn *lanhaol.* "Golchiad" ydyw, yn ol rhai "*bath*" yr adenedigaeth; hyny yw, golch*fan* yr adenedigaeth. Mae y saint yn offeiriaid i Dduw. Yr ydoedd yn ddefod yn Israel gynt fod i'r offeiriaid ymolchi bob amser cyn ymddangos yn y

lle sanctaidd. Un o ddodrefn y Deml yn Jerusalem a'r Tabernacl yn yr anialwch ydoedd golchfan. Dyna ydoedd dyben y noe bres a osodasid rhwng pabell y cyfarfod a'r allor. Mae y Bibl yn son llawer am ei "throed" (Exod. xxx. 18, 28; xxxi. 9.) Amlwg yw fod y "troed pres" yn rhan bwysig o'r dodrefnyn rhyfedd hwn. Dichon fod y troed yma yn fath o gawg bychan isel oedd o fewn uchder cyfleus i ddyn ymolchi ynddo; ac fod y noe yn fath o ddyfrgist fawr uchel a chynnwysfawr fyddai yn wastad yn llawn o ddwfr, ac yno fod cyfledydd rhwng y cawg isel a'r noe i ollwng dwfr iddo o'r noe at wasanaeth yr offeiriaid. Os felly, y meddylddrych a gyflëid yn y ddefod ydoedd puredigaeth. Dyna oedd yn galw am ddwfr glân bob tro, a darpariaeth i hyny oedd y noe a'i throed. Ac yr oedd y noe bres—yr olchfan—wedi ei gosod rhwng y porth a'r allor, gyda gorchymyn, dan benyd marwolaeth, fod i'r offeiriaid olchi eu dwylaw a'u traed ynddi cyn myned at yr allor i weini i'r Arglwydd.

Dichon fod iaith ffugyrol y testyn yn cyfeirio at y ddefod hon. Ac os felly, y ddysgeidiaeth yw mai adenedigaeth ydyw y porth trwy ba un y rhaid i bawb fyned i mewn i wasanaeth yr Arglwydd. "Y rhai pur o galon a welant Dduw." Rhaid cael puro y gydwybod i wasanaethu y Duw byw, "a chael ein geni o ddwfr ac o'r Ysbryd cyn yr eir i mewn i deyrnas Dduw." Y ddeddf dragywyddol a ordeiniodd Duw yn ei eglwys yw, fod yn rhaid, ïe, yn rhaid eich geni chwi drachefn; a hyny yn benaf oblegid fod adenedigaeth yn "olchiad," sydd yn parotoi pobl lân i le glân ac at wasanaeth lân y Duw sydd â'i "enw yn sanctaidd."

Tybir gan rai esbonwyr fod yn y gair "golchiad" gyfeiriad at yr ordinhad o fedydd, sef bedydd yn ei arwyddocâd sancteiddiol. Yr ydym yn cytuno fod bedydd ymhob engraifft o'i weinyddiad ar bobl mewn oed neu fabanod yn cyfleu y wers hon, sef fod y bedyddiedig mewn anghen am lanhad, ac fod gan y Drindod y bedyddir ef i'w enw ddar-

pariaeth i wneyd hyny. A'r ddarpariaeth hono yn ddiau ydyw *Bedydd yr Ysbryd Glân*, ac mai at y bedydd hwnw yn benaf, os nad yn unig, y cyfeirir yma, a ganfyddir oddiwrth y 6ed adnod. Nid doeth ynom gymhwyso y gair at fedydd dwfr os na raid, gan y dyry ddefnydd yn nwylaw yr Uchel-Eglwyswyr a honant *adenedigaeth yn medydd.* Ond os gellir profi fod yma gyfeiriad at fedydd dwfr o gwbl, nis gellir byth *brofi*, faint bynag y dadleuir, fod y testyn yn dysgu fod bedydd yn adenedigaeth. Gwirionedd sydd un. Nis gall fod syniad yn cael ei ddysgu mewn un rhan aneglur o'r Bibl, os ceir fod rhanau eglur lawer o'r Bibl yn gwrthod y syniad hwnw yn benderfynol. Y mae hyn yn un o reolau mwyaf teg a rhesymol Deongliadaeth Ysgrythyrol. Ac heb fyned ymhellach na hon, dywedwn yn ddifloesgni nad yw y golygiad afresymol, Pabaidd, a chyfeiliornus o adenedigaeth yn medydd ddim yn ngeiriau y testyn, canys y mae yn y Testament Newydd adnodau lawer sydd yn ymwrthod â'r syniad yn y modd mwyaf pendant. Gwrandewch ar eiriau Paul mewn rhanau eraill o'i epistol, "Gan wneuthur fy hunan yn bobpeth er mwyn achub rhai." Ni bu neb dyn erioed yn fwy awyddus na Phaul am achub y bobl. Eto yn ei Epistol 1af at y Corinthiaid, i. 14—16, ysgrifena: "Yr ydwyf yn diolch i Dduw na fedyddiais i neb o honoch ond Crispus a Gaius." Os ydyw bedydd yn aileni pobl, ac adenedigaeth yn achub rhai, ai tybed y buasai un mor awyddus am achub a Phaul yn diolch i Dduw am na fedyddiodd yn Corinth ond cwpl o ddynion a thylwyth Stephanas? Gofyn y fath gwestiwn sydd yn ddigon o atebiad iddo; ac y mae yr atebiad y fath mewn croywder a grym ag a ddylai roddi taw tragywyddol ar goleddwyr adenedigaeth yn medydd.

Adenedigaeth—y cyfnewidiad trwyadl sydd yn ail ddechreuad bywyd dyn yn y byd—sydd yn glanhau y galon oddiwrth lygredigaeth pechod, ac yn adferu y serchiadau i garu Duw, i hoffi ei bobl, ac i ymhyfrydu yn ei waith; dyma

yr ail fendith fawr a dderbynir yn ngweinyddiad achubol y cadw trwy ras.

Yn *drydydd*, gwneir y bobl gyfiawnhaol ac ailanedig hyn yn *etifeddion yn ol gobaith bywyd tragywyddol.*

Heblaw rhyddhau pechadur oddiwrth euogrwydd oedd yn ei erbyn o'i ol, ac oddiwrth orthrwm pechod oedd yn cadw ei neuadd yn ei galon ar y pryd, mae y cadw trwy ras yn agor rhagolygon dyrchafedig o'i flaen. Y mae dyfodol annherfynol o flaen dyn. Er doe y mae, ond efe a fydd byth. Pwnc mwyaf ei oes ddylai fod i sicrhau dyfodol dedwydd iddo ei hun. Mae y cadw trwy ras yn effeithio hyny. Gwna hyn trwy gyfiawnhad a golchiad yr adenedigaeth. Yn y naill rhoddir titl iddo i'r etifeddiaeth, a thrwy y llall gwneir ef yn gymhwys i'w mwynhau. Fel wedi ein cyfiawnhau, &c., y'n gwnelid yn etifeddion. Rhyfedd ras, gwneyd rhai heb ddim, oedd dros eu penau mewn dyled, yn etifeddion! Gwneyd "rhyfedd yw hwn." Llawer gwneyd rhyfedd arall a fu. Gwneyd y ddaear o ddim —gwneyd dyn o bridd y ddaear—y gwneyd fu ar y dyn hwnw yn bechadur—gwneyd y Gair yn gnawd—gwneyd Mab Duw yn Grist, a gwneyd y Crist hwnw yn ddoethineb, yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth i ni, ïe, ei wneyd ef yn bechod drosom ni, fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef. Ond dyben eithaf yr oll oedd fel y'n gwnelid ni yn etifeddion yn ol gobaith bywyd tragywyddol. Etifeddion yn ol gobaith: *heirs apparent* ydynt eto; ond daw etifeddiaeth. A'r fath stâd! *Bywyd*—mor felus y gair, mor anwyl ei gynnwys. Ië, bywyd *tragywyddol.* Canaan oedd etifeddiaeth y bobl gynt. Hono oedd wlad dda odiaeth, yn llifeirio o laeth a mêl. Ond yr oedd terfynau iddi, a'r rhai hyny yn gyfyng; gelynion ynddi a'r rhai hyny yn ffyrnig; trallod a phoen, galar a chystudd arni, a'r oll yn arwain i farwolaeth. Ond dyma i chwi stâd! Bywyd tragywyddol! Ychydig ellir ddyweyd am dani, o herwydd fod ei rhagoriaethau goruwch pob deall. Pe gofynech beth yw ei lled? ei hyd? ei chyn-

nyrch? ei hinsawdd? ei gwerth a'i gogoniant? rhaid i mi ateb nas gwn. Un peth a wn i, ei henw yw Bywyd tragywyddol. Ac y mae yr enw sydd arni yn dynodi absennoldeb pob drwg a phresennoldeb pob da, absennoldeb pob trueni a phresennoldeb pob dedwyddwch. Newyn, syched, oerni, a gwres; lludded na phryder, poen na galar, cystudd na marwolaeth, ni cheir yno. Bywyd sydd yno, a bywyd yn llawn, heb yr un o'i anfanteision i'w chwerwi, heb yr un o'i negyddion i'w fylchu, ac heb yr un o'i elynion i'w gymeryd ymaith; ïe, bywyd, gwlad o fywyd, tragywyddol wlad o fywyd yn ei ffurf uchaf, gyflawnaf, ac anfarwolaf, ydyw etifeddiaeth y rhai a wnaed yn etifeddion trwy weinyddiadau achubol y cadw trwy ras.

2. *Fod trefn y cadw yn ei gweinyddiadau achubol yn gwbl o ras.*

Prin y rhaid ymhelaethu ar y gosodiad hwn, gan mor eglur y dysgir ef yn y testyn, a chan mor gyffredinol y credir yr athrawiaeth yn y dyddiau hyn. Nodasom gynau fod Duw wedi gosod ammodau i'w cyflawni gan y dyn, ac nad ydyw adran gyntaf y 5ed adnod yn gwadu hyny. Ond na chamddealled neb ni, ein cred ddiysgog fel enwad mewn cysondeb â dysgeidiaeth bendant y testyn ydyw, nad ydyw cyflawni ammodau y drefn ar du y dyn ddim yn cyfansoddi teilyngdod ynddo i hawlio y bendithion. Y mae gwahaniaeth hanfodol rhwng ammod offerynol ac achos haeddiannol peth. Rhaid i'r cardotyn guro wrth y drws ac agor ei law cyn cael cardod, ond nid hyny ydyw achos haeddiannol yr elusen; na, gras yr elusengar sydd yn rhoddi gan nad beth wnaeth y truan tuag at ei gael. Curo wrth y drws ydyw dychwelyd—agor llaw wag i dderbyn ydyw ffydd ar y goreu. Gras Duw sydd yn rhoddi wedi'r cwbl. Cyfiawnhad—ond trwy ei ras ef. Elusen ydyw maddeuant o hyd. Ië, fel yr eglurwyd o'r blaen, *maddeuant ydyw cyfiawnhad yr efengyl.* Nid clirio y diniwed ar dir cyfiawnder, ond gollwng yr euog yn rhydd ar dir trugaredd. Nid trwy gofio gweithredoedd da, ond

trwy anghofio gweithredoedd drwg,—"yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni." Cyfiawnhau—ond cyfiawnhau trwy ei ıas ef.

"Adenedigaeth" drachefn a dderbyniwyd ar yr un tir. "Adnewyddiad yr Ysbryd Glân" ydyw. Nid gwneyd i ni ein hunain galon newydd yr ydym, "a chan wared ni wared neb ei frawd" ychwaith. Na, na, nid felly, yr Ysbryd Glân droes y cryfarfog o'i neuadd; dylanwadau yr Ysbryd ydyw y *bath* olchodd ymaith ôl ei draed o'r galon; yr Ysbryd dywalltodd gariad Duw ar led y galon; a thrwy ein geni oddiuchod, ein geni drachefn, a'n geni felly o'r Ysbryd, y cyfodwyd gorsedd i Dduw o'n mewn, ac y planwyd ynom hadau anfarwoldeb dedwydd. Ond gofala yr Apostol am ychwanegu mai trwy Iesu Grist ein Hachubwr y tywalltwyd arnom yr Ysbryd Glân; mewn geiriau ereill, fod effeithiad yr adenedigaeth, yn gystal a chyfiawnhad, yn gwbl o ras.

Ac at y ddau, hawdd yw gweled mai o ras yn unig y gwneid dynion annheilwng yn etifeddion bywyd tragywyddol. Crist bwrcasodd yr etifeddiaeth. Cydetifeddion âg Ef ydyw y saint. "*Deed of gift* ydyw y nefoedd i ddynion."

"Blinais edrych yn ol i Eden,
  Troaf bellach tua'r groes;
Blin effeithiau 'r codwm hwnw
  Rodd i'm enaid lawer loes:
Ar Galfaria mae 'n goleuo,
  Poen a gwae a melldith ffodd;
Yno prynwyd i mi drysor,
  Mwy na gwerth y byd yn rhodd."

Ië, rhodd ydyw yr etifeddiaeth. Coron cyfiawnder yr hon a *ddyry* i'r "etifeddion" yn ol yr addewid," cydetifeddion gras y bywyd (1 Petr iii. 7). Priodi yr Aer wnaeth ferch yr hen Amoriad yn gyfoethog.

3. *Fod y cadw gweithredol yma trwy ras yn gynnyrchydd gweithredoedd da.*

Y mae profi ymgeledd gras ar y galon yn dwyn gweithredoedd da i'r fuchedd, fel mae achos yn cynnyrchu effaith; ffynnon groyw loyw yn bwrw allan ffrydiau byw rhedegog, neu y pren da yn dwyn ffrwythau da. Nis gall fod fel arall. Ni ddichon pren da ddwyn ffrwythau drwg—y dyn da o drysor da ei galon a ddwg allan bethau da. Canlyniad naturiol a dïeithriad y prynu oddiwrth bob anwiredd, a'r puro yn bobl briodol i Dduw, ydyw bod "yn awyddus i weithredoedd da." Y mae yr holl Fibl yn unol dystiolaethu i'r gwirionedd mawr yma.

Nodwn, yn mlaenaf, *fod cysylltiad anghenrheidiol rhwng y galon a'r fuchedd.* Nis gellir gwadu hyn. Nid yn y diriogaeth yna y dadleuwn am ryddid moesol y dyn. Rhwng y cymhellydd a'r dewisiad y mae lle priodol hwnw. Rheidrwydd hollol sydd yn cydio dewisiadau yr ewyllys wrth yr actau allanol. Ymgnawdoliad y dewisiadau ydyw gweithredoedd y fuchedd. Ewyllysiad mewn ffaith ydyw gweithred creadur rhesymol. Y canlyniad yw, fod y fuchedd yn ddangoseg gywir o'r galon, ac yn esboniad ymarferol arni. Yn yr ystyr o ddewis un peth a gwneyd peth arall mae rhagrithio yn anmhosiblrwydd tragywydd. Gall Judas fradychu y goreu o bawb â chusan, a thrwy hyny weithredu bradwriaeth; ond cofier fod y cusan yn effaith ewyllysiad yn gystal a'r bradychu. "Dwyn allan bethau drwg o drysor drwg ei galon" yr oedd efe yn y cwbl a wnaeth. Os gwir yw fod cysylltiad sicr rhwng y galon â'r gweithredoedd, mae yn hawdd gweled sut y mae y cadw trwy ras yn cynnyrchu gweithredoedd da. Gesyd ddyn ar dir da o ran ei berthynasau allanol; mwy na hyny, dyry galon dda yn ei fynwes. Dyry halen sancteiddrwydd yn llygad y ffynnon — y ffrydiau yn rhwym o fod yn bur. Cuddia lefain gras yn y clamp toes, a'r canlyniad ydyw suro y cwbl. I ddyn heb ei achub, helbul parhaus ydyw ymarweddu yn addas, ac yn wir gormod gorchwyl iddo. Tir annedwydd, croes ymdynol, bylchog gan fynych lithriadau, fel yr eiddo y

deffroedig diailenedig ag y ceir hanes am dano yn y seithfed at y Rhufeiniad, yw ei brofiad parhaus. Beth a wneir i'r dyn? Dysgyblwyd ef drachefn a thrachefn yn ol pob math o ddull a mesurau. Bu i mewn ac allan fel dafad farus ddeg a thriugain seithwaith. Siaradwyd âg ef yn gyfrinachol nes oedd ei wyneb yn fudr gan wylo; annelwyd taranfolltau y weinidogaeth at ysgelerder ei bechod; ond yr oll yn ofer. Beth a wneir âg ef? Dywed ar ei wir y carai fyw yn dduwiol, a'i fod yn edifarhau mewn llwch a lludw am a fu, a diau fod ei gyffes yn gywir. Gresyn taflu dyn felly dros y drws, ac eto mae ei adael fel y mae yn yr eglwys yn dwyn gwaradwydd arni. Beth sydd yn bod? Os yw rhywun yn gofyn yr achos gydag amcan gonest, atebaf yn awdurdod y Bibl, *heb ei aileni y mae y dyn.* Heb ei ryddhau y mae oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth. Ië, ond y mae yn y seiat, yn hen aelod, yn cymuno bob mis, wedi teimlo pethau nerthol, yn wylo yn yr oedfa fel plentyn. Gall hyn oll fod, ond calon gareg, trysor drwg, profiad dioruchwyliaeth sydd gan y dyn, yn siwr i chwi. Beth a wneir iddo ef? Ei roddi i fyny i golledigaeth? Nage. Mae pont ar ddwy golofn gre' rhwng y seithfed a'r wythfed o'r Rhufeiniad, yn cario drosodd o'r tir helbulus lle y mae ef yn awr yn byw, i dir rhydd, diattalfa a gorfoleddus plant Duw. Cymhellwch ef drosti. Gall yntau dd'od, os daw wrtho ei hunan. Mae y bont yn rhy gul iddo gludo beichiau drwyddi. Rhaid gollwng gafael o gorph y farwolaeth, a ffoi dros y bont yn noethlymyn. Deued yntau felly ymlaen. Cymered galon. Rhoddwch bob cymhorth iddo, eglwys Dduw. Safed pechaduriaid oddiar ei ffordd. Cerydded Ysbryd Duw gythreuliaid i sefyll o'i ol. Rhoed pawb un siawns am byth iddo am ei fywyd. Dacw fe yn cychwyn—da was —tyr'd ymlaen—tafl dy faich i lawr i gyd. Dyna fe drosodd yn fyw, rhad ras yn ei gofleidio ac yn ei achub trwy olchiad yr adenedigaeth, a derbyniodd anian newydd; daeth i synied am bethau yr Ysbryd ac i rodio nid yn ol

y cnawd. Gall droi ar y llaw ddehau, ar ben y groesffordd bellach, a rhodio yn ol yr Ysbryd, dan ganu "Canys deddf Ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu a'm rhyddhaodd i oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth." Ar ol cael calon dda, tyf ffrwythau per "gweithredoedd da" arno mor naturiol ag y tyfai afalau Sodom arno o'r blaen, oblegid mae yna gysylltiad sicr rhwng y galon a'r gweithredoedd.

Sylwn, yn ail, *Fod egwyddorion moesol yn cynnyrchu eu rhyw.* "Pob cyffelyb ymgais." Casineb yn magu casineb, a chariad yn cenedlu cariad. Amlygiad o ddaioni a chariad oedd moddion offerynol achubiaeth yn y cadw trwy ras; dyna y daioni a bentyrodd farwor tanllyd ar ben dyn, ac a orchfygodd ddrygioni ei galon yn ngolchiad yr adenedigaeth. Yr olwg a gaed ar brydferthwch "y tecaf o feibion dynion" yn y drafodaeth hono lygad-dynodd y serch i ymglymu am dano, gadael pobpeth er ei fwyn, a marw yn ferthyr, os bydd raid, am ei dystiolaeth. Byth ar ol hyn ehed y meddwl ar ei ol, treulir aml ddedwydd awr yn ei gwmni. Iaith y serchiadau yw, "Tyn fi, a ni a redwn ar dy ol. Y Brenin a'm dyg i'w ystafellau; ni a ymhyfrydwn ac a ymlawenhawn ynot; ni a gofiwn dy gariad yn fwy na gwin" (Can. i. 4). "Tra yw y Brenin ar ei fwrdd, fy nardus i a rydd ei arogl. Fy Anwylyd sydd i mi yn bwysi myrr; rhwng fy mronau yr erys dros nos. Cangen o rawn camphir yw fy Anwylyd i mi yn ngwinllanoedd Engedi" (Can. i. 12, 14). Wrth gymdeithasu felly gydag Ef, ffynnon pob daioni a sancteiddrwydd, derbynir ei argraff, yfir o'i Ysbryd, efelychir ei dymher a'i droion; a chanlyniad hyny ydyw bod yn barod i bob gweithred dda; "a gofalu ar flaenori mewn gweithredoedd da." Y mae egwyddor y dirgelwch yma yn un o epistolau Ioan. "Eithr os rhodiwn yn y goleuni, megys y mae Efe yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas â'n gilydd;" a beth wed'yn? "A gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod" (1 Ioan i. 7). Ac mor wir ag i ddyn gael ei achub, cymdeithasa gyda Christ; ac mor wir-

ed â'r ddau, yn rhinwedd yr egwyddor fawr fod egwyddorion moesol yn cenedlu eu rhyw, y mae cadw felly trwy ras yn cynnyrchu gweithredoedd da.

Y mae yna un plyg eto i'r mater y carwn ei grybwyll cyn terfynu, sef, yn drydydd, *Fod gobeithion dyfodol dyn yn effeithio ar ei ymddygiadau presennol.* Mae hyn yn wir ymhob cylch, pa un bynag fyddo ai da ai drwg. Mae rhagolygon mab y boneddwr yn llunio ei foesau, ac yn ei barotoi i'w ystad. Ar yr egwyddor yma y mae uchelgais gyfreithlawn yn llesâu. Egyr ragolygon dysglaer o'n blaen, lleinw ein penau â *high notions*, a galluoga ni i fyw nid yn ol y peth ydym yn awr, ond yn ol y peth y gobeithiwn fod yn y man. Tuedda hyny i'n symbylu i ddiwyllio ein meddyliau, dillynio ein moes a choethi ein hiaith a'n chwaeth, yn barod erbyn y dyrchafiad. O'r tu arall, tuedda safon isel meddwl pruddglwyfus a diobaith i lygru y chwaeth, aflaneiddio yr iaith, ac i ysu fel cancr bob rhagdueddiad i rinwedd a moes a ymledai yn y galon. Dywedir fod rhai cymeriadau i'w cael a droseddant o bwrpas tua dechre y gauaf, er mwyn cael treulio y gauaf yn ngharchar. Y mae eu gobeithion yn moldio eu cymeriad hwy er gwaeth. Mae hyn yn sicr, sef fod llaweroedd yn arwain bywyd isel ac aflan dan ddylanwad rhagolygon isel a thruenus.

Os felly, pa ryfedd fod annuwiolion mor ddrwg eu gweithredoedd ? eu bod yn wagsaw eu chwaeth, yn uffernol eu hiaith, ac yn anianol a chythreulig eu gweithredoedd ? Ar uffern mae eu golwg. Tuag yno y rhedant bob dydd. Ni feddyliasant yn iawn gymaint ag unwaith am fyned i'r nefoedd. Eu bwriad ydyw treulio gauaf tragywyddol yn y carchar. Rhaid codi safon y bobl, a chreu ynddynt obaith am y nef, cyn y ceir diwygiad yn y fuchedd. "Canys pob un sydd ganddo y gobaith hwn, sydd yn ei buro ei hun." Un o ddeddfau yr elfen ddwfr ydyw codi i'w lefel. Dringa i'r ystafell uchaf yn y tŷ, ac y mae yn glanhâu ymhob modd. Paham ? Wedi cychwyn o'r *reservoir* y mae ;

ac y mae ar lecyn uchaf y wlad, ac yn ddigon goruwch yr ystafell uchaf yn y dref. Rhedeg i'w lefel y mae y dwfr. Y môr! mor lân y ceidw ei hun! Er curo yn erbyn glanau lleidiog ddigon, a derbyn *refuse* dinasoedd lawer, a'i wneyd yn gladdfa pob math o aflendid a llygredigaeth, er pob peth mae ei ddyfroedd yn lân a glanhaol, fel y grisial. Mor llyfnion ydyw ei geryg! mor lanwedd ydyw ei dywod! ac mor loywon ydyw ei fawrion dònau! Paham? Yr ateb ydyw, mai puro ei hun y mae. Gwna hyny yn rhinwedd ei aflonyddwch parhaus. Y mae y môr yn dygyfor, ni all fod yn llonydd. A da hyny. Ond beth yw dirgelwch y cwbl? Am atebiad rhaid edrych i fyny. I fyny y ceir hyd i achosydd ei ymbureiddiad. Draw ar y ffurfafen, yn agos i chwarter miliwn o filldiroedd oddiyma, wele y

> "Wenlloer arianlliw â gwên ar ei grudd,
> Siriola 'r ffurfafen gymylog a phrudd."

Ei llaw hi sydd yn helpu y môr i ddygyfor, a thrwy hyny i buro ei hun.

> "Mae 'n cydio yn ei law, gan ei arwain yn gaeth,
> A'i ddysgu i gerdded ei hun ar y traeth;
> Ei ollwng a wna i wneyd defnydd o'i droed,
> Ond methodd roi cam heb gael codwm erioed."

Ië, dylanwad oddiuchod sydd yn foddion i'r môr i buro ei hun. Nid unrhyw allu daearol—nid gwynt, er maint y tymhestloedd a bâr, ac nid daeargryn er mor gadarn ei braich. Na, na, rhaid cael "nerthoedd y nefoedd" at y gorchwyl. Mae y credadyn brofodd oruchwyliaeth y cadw trwy ras, a'i serch ar y pethau sydd uchod, yn etifedd yn ol gobaith bywyd tragywyddol. Ei *centre* ef sydd uwch na'r lloer a'r ser; "nerthoedd y byd a ddaw" ydyw ysgogydd ei symudiadau; carir dylanwad drosto gan allu anweledig. Nid yw yn gorphwys ar y ddaear—ni all fod yn llonydd mwy na'r môr, cyfyd ei olwg i fyny tua'r nef, gan geisio gwlad sydd well. Ac o dan ddylanwad y

fath ragolygon dyrchafedig, mae yn ei buro ei hun. Daw ei *high notions* i ddyrchafu ei natur a sancteiddio ei foes. Y mae'n ormod o ŵr boneddig i gyflawni gweithredoedd isel, aflan ac annheilwng. "Y mae ei ymarweddiad yn y nefoedd." Yn y dyfodol mae ei fryd, a daw i actio, nid yn ol yr hyn yw, ond yn ol yr hyn a fydd.

Bellach, gwelwn mai effaith naturiol y cadw trwy ras ydyw gwneyd i'w gwrthddrychau "ofalu ar flaenori mewn gweithredoedd da." Caffed effaith felly ar bob un o honom ni. Amen.

---

## RICHARD BAXTER, AWDWR "*TRAGYWYDDOL ORPHWYSFA Y SAINT.*"

GANED y dyn mawr, llafurus a sanctaidd hwn yn y flwyddyn 1615, a bu farw mewn llawn sicrwydd gobaith o gael rhan yn nhragywyddol orphwysfa y saint yn 1691, yn fab 76 mlwydd oed. Oesai ar y ddaear yn un o'r cyfnodau mwyaf terfysglyd yn hanes Lloegr, a chymerodd ran mewn amrai o ddadleuon y cyfnod bob amser yn ffafr Protestaniaeth ac undeb crefyddol. Dyoddefodd lawer oddiwrth anhwylder corfforol, ac erlidiwyd ef yn drwm gan orthrymwyr gwladol ac eglwysig. Dyry hanes ei amseroedd drem bruddaidd ar anfoesoldeb y bobl, aneffeithiolrwydd y clerigwyr gwledig, tôn isel y llys cyfreithiol, a'r traha o bob math oedd yn dal y werin mewn caethiwed. Yn nghanol y cwbl cadwodd Baxter ei gymeriad yn ddilychwin, a'i ysbryd yn dduwiolfrydig. Arweiniodd fywyd hunanymwadol. Gwrthododd y meitr esgobol unwaith, a phwrs o arian droion, a hyny pan oedd ei amgylchiadau yn gyfyng; ac nid oes achos chwanegu iddo ymgodi uwchlaw dylanwad llwgrwobrwyaeth y dyddiau hyny. Llafuriodd yn ddiarbed ar hyd ei oes. Ysgrifenodd fwy na mwy. Cynnwysa ei weithiau argraffedig dros driugain o gyfrolau mawrion, ac y mae *Gorphwysfa y Saint*, ac un neu ddau ereill o'i lyfrau, yn cymeryd eu lle ymhlith clasuron cysegredig y byd.

I.

O ran ei berson, dyn tâl a theneu oedd Baxter, wyneb hir, cul, a phlaen; trwyn Rhufeinaidd, yn sefyll allan yn amlwg rhwng dau lygad mawr a mynegiadol. Golwg ddifrifol a chystuddiedig oedd arno yn ei amser goreu. Meddai lais llawn a soniarus, siaradai mewn tôn leddf ac effeithiol, ac yr oedd rhyw barchedigaeth a defosiynedd yn ei nodweddu yn wastadol.

Meddai feddwl craff a chyflym iawn; cof cywir a gafaelgar; ardymher wresog ac ymladdgar; calon fawr a gwir haelfrydig; coleddai gariad angerddol at wirionedd a rhyddid, a chyflafareddiad oedd arwyddair ei fywyd. Ei ymgais fel duwinydd oedd cael lle canol rhwng Calfiniaeth ac Arminiaeth; a gwnaeth egnïon lawer yn ei oes i ffurfio undeb rhwng y Presbyteriaid a'r Eglwyswyr.

II.

Dosberthir ei Ysgrifeniadau yn gyffredin dan bump o bennawdau gwahanol. Noder *ymlaenaf*, *Profion Cristionogaeth*. Dau lyfr yn arbenig, sef "The Unreasonableness of Infidelity," a'i "Reasons for the Christian Religion." Dywed Hunt mai Baxter oedd y cyntaf yn yr adran yma. Yn *ail*, *Duwinyddiaeth Bynciol*. Ysgrifenodd ddau lyfr mawr a phwysig ar hyn, sef "Catholic Theology," yn Saesoneg, ac un arall yn Lladin. Yn *drydydd*, *Gweithiau Dadleuol*. Maent yn amrywiol a lliosog iawn. Yr oedd dadleu yn ei esgyrn. Yn *bedwerydd*, *Barddoniaeth*, Emynau yn benaf. Yn *bummed*, ei *Weithiau Ymarferol*. Llyfr rhagorol ar ddyledswyddau ydyw "Directory" Baxter. Anfynych y gellir darllen dim byd mwy cyffrous na'i "Call to the Unconverted;" ond y gwaith mwyaf adnabyddus o'i eiddo ef yw "The Saints' Everlasting Rest." Y syndod yw, pa fodd y gallodd dyn afiach, prysur ac erlidiedig fel Baxter ysgrifenu y fath doraeth i'r wasg.

III.

Manylwn ychydig ar hanes ei fywyd. Disgynai o deulu lled uchel. Yr oedd ei dad un adeg yn dirfeddianydd lled helaeth yn Sir Amwythig, ond yn rhysedd bywyd afradlawn efe a

gollodd y cwbl yn gynnar yn ei fywyd. Yn ei gyfyngder daeth ato ei hun, profodd gyfnewidiad trwyadl, a daeth o hyny allan yn Buritan aiddgar mewn barn ac ymarweddiad. Yr oedd tröedigaeth ei dad wedi cymeryd lle ychydig cyn geni Baxter. Mewn lle o'r enw Eaton Constantine, yn Sir Amwythig, y ganed ein gwrthddrych, yn y flwyddyn 1615, fel y nodais o'r blaen, a hyny yn mis Tachwedd. Ni wyddys y dyddiad. Ar y 12fed, medd ef ei hun, ond dengys llyfr y Cofrestrydd iddo gael ei fedyddio ar y 6fed—chwe' diwrnod cyn cael ei eni! Nid oes air o son am frawd na chwaer iddo; a bu yntau ei hunan farw yn ddiblant, fel y darfu ei enw gyda'i fywyd. Beatrice oedd enw ei fam, a dyna bron yr oll a wyddom am dani. Bu hi farw pan nad oedd ef ond 16 mlwydd oed. Mary, merch Syr Thomas Hunks, Llywydd y Brenin yn Amwythig, oedd ail wraig ei dad. Profodd y foneddiges hono yn fam ragorol iddo. Hynodid hi gan ei duwioldeb. Dyoddefodd boenau blinion am ddeng mlynedd ar hugain oddiwrth y *cancer*, a hyny yn yr ysbryd mwyaf crefyddol. Bu ei haddysgiadau, ei siamplau da, a'i phrofiad nefol hi o fantais ddirfawr i Baxter.

Gyda'i daid y treuliodd ddeng mlynedd cyntaf ei fywyd. Ychydig o addysg a gafodd yn nyddiau ei ieuenctyd. Bu am beth amser mewn ysgol rad yn Utoxeter, ac ar ol hyny dan addysg yn Ludlow. Tra yno bu farw yr athraw, a chafodd Baxter ei benodi yn athraw yn ei le. Ei hen athraw yn Ludlow oedd y cyntaf a welodd erioed yn gweddïo heb lyfr. Myfyriai yn ddiarbed yn y cyfnod hwnw. Pallodd ei iechyd. Bu darllen "Bunny's Resolution," a llyfr bychan arall a elwir "The Bruised Reed," yn foddion i'w ddychwelyd at yr Arglwydd. Gogwyddai ei feddwl at y weinidogaeth. Safai ei dad yn erbyn hyny. Penodwyd ef i lenwi cylch o bwys yn Nghastell Ludlow. Mis a fu yno. Cafodd ddiflasdod hollol at goegddigrifwch ac anfoesoldeb y llys mewn hyny o amser. Ar ol hyn, treuliodd bedair blynedd yn nhŷ ei dad mewn efrydiau pwysig. Yn llanc ugain oed dechreuodd bregethu mewn modd hynod iawn. Ordeiniwyd ef i waith y weinidogaeth gan yr Esgob Thornborough, a bu yn llafurio fel bugail ac ysgolfeistr ynglŷn â sefydliad un Thomas Fooley yn Dudley, am oddeutu blwyddyn. Symudodd oddiyno i Bridgenorth, lle y talodd sylw neillduol i'r pynciau gwladol ac eglwysig

oedd yn cynhyrfu Prydain ar y pryd. Oerodd yr ymchwiliad hwnw ei gariad at yr Eglwys Sefydledig. Ymhen dwy flynedd ymsefydlodd yn Kidderminster, lle y treuliodd gyfnod mwyaf llwyddiannus ei oes.

## IV.

Haeddai hwn le dan benawd wrtho ei hun. Saif y cyfnod hwn ar ei ben ei hun yn hanes ei fywyd. Cyflawnodd waith yno mewn pedair ar ddeg o flynyddoedd ag y cofir am dano byth. Os dywedodd Cesar iddo gael dinas Rhufain yn glai a'i gadael yn fynor, hawdd y gallasai Baxter ddyweyd iddo gael tref Kidderminster yn uffern, a'i gadael yn nefoedd. Dengys amgylchiadau ei fynediad yno beth oedd sefyllfa weinidogaethol y lle. Dyn dienaid, diwaith, a digrefydd oedd y ficer. Mynychai y tafarndai; pedair gwaith yn y flwyddyn y pregethai. Cadwai gurad, ond yr oedd hwnw yn waeth nag yntau. Yn y man aeth pethau i argyfwng, a chododd y plwyfolion yn erbyn y ddau. Cynnygiodd y ficer ammodau heddwch—rhoddi i fyny y curad, a thalu £60 tuag at gynnal pregethwr o'u dewisiad hwy. Y gŵr a ddewiswyd oedd Baxter. Cydsyniodd â'r cais. Yr oedd hyn yn 1640. Yr oedd yr addoldŷ yn eang a chyfleus, ond yn hynod o wag. Yn ddioed ar ol i'r pregethwr ddechreu ar ei waith dylifai y bobl ynghyd, a thorai ei bregethau miniog fel cyllill i gydwybodau y gwrandawyr. Aeth yr eglwys yn rhy fechan. Dodwyd pump o orielau arni o bryd i bryd. Rhifai y cymunwyr dros chwe' chant; ac yr oedd gwaith achubol mawr yn ymledu fel tân drwy y dref. Ar hyn torodd allan y Rhyfel Cartrefol, a bu raid i Baxter ffoi o Kidderminster am ei einioes. Arosodd yn Gloucester am fis. Pan yn pregethu yn Alcester, yn mhulpud Samuel Clark, clywai swn ergydion magnelau brwydr fawr Edgehill, a thrannoeth gwelodd fil o gyrff y lladdedigion ar y maes. Oddeutu yr adeg yma gwysiwyd ef ger bron Cromwell i draethu ei farn ar ryddid cydwybod. Pregethodd am ddwy awr. Cymerodd Cromwell awr arall i'w ateb. Atebodd Baxter yntau drachefn. Parhaodd yr oedfa rhwng pedair a phum' awr. Yr oedd gan Cromwell syniad cywirach na Baxter am ryddid crefyddol.

Dychwelodd at ei waith i Kidderminster. Cynnygiwyd y ficeriaeth iddo, ond yn ofer. Derbyniai £80 yn y flwyddyn.

Lletyai yn ystafell uchaf rhyw dŷ yn y dref, ac ymgladdai yn ei efrydiau a'i waith. Gweinyddai fel meddyg i'r plwyfolion yn gystal ag fel bugail. Ymwelai â phedwar ar ddeg o deuluoedd bob dydd; pregethai unwaith y Sul; darlithiai bob prydnawn dydd Iau, ac yn yr hwyr ymgeleddai y dychweledigion. Cynnaliai ympryd a gweddi, cynnadleddau, a chyfarfodydd egwyddori; a thaflai dân Duw i'r cwbl. Achubid y bobl wrth y cannoedd, a gweddnewidiwyd yr holl dref. Mae hanes ei lafur a'i lwyddiant yn darllen fel pennod o Lyfr yr Actau.

Yn 1660 dymchwelwyd y Werinlywodraeth, adferwyd Breniniaeth yn nghoroniad Siarl II., a daeth Eglwysyddiaeth yn grefydd sefydledig y Llywodraeth. Cyfodwyd hen ficer meddw Kidderminster i gyflawn feddiant o'i fywiolaeth, a thaflwyd Baxter allan o afael, er galar a cholled enfawr i'r plwyfolion. Galarent ar ei ol fel galar Hadad-rimmon. Dywedir iddo wrthod meitr esgob y pryd hyny. Aeth i Lundain i fyw, lle y bu yn cynnorthwyo Dr. Bates yn Eglwys Dunstan.

## V.

Yn 1662 priododd un Margaret Charlton, a pharodd yr amgylchiad gymaint o gyffro bron â phriodas Martin Luther. Yn y flwyddyn hono hefyd y gwnaed Deddf Unffurfiaeth yn gyfraith y wlad. Ymhlith y ddwy fil a fwriwyd allan ganddi yr oedd Richard Baxter. Yn 1664 pasiwyd cyfraith annuwiol y Cynghordŷ, a thaflwyd Baxter i garchar. Dyoddefodd lawer, ond pwynt uchaf ei anmharch oedd ei brawf, pe prawf hefyd, ger bron yr adyn Jefferies. Yn Llundain y treuliodd weddill ei oes. Nychodd. Ymweliad Matthew Henry âg ef yw un o'r pethau tyneraf. Bu farw am bedwar o'r gloch y boreu, Rhagfyr 8, 1691, yn ŵr 76 mlwydd oed.

J. E.

# XLVI.

## SWPER YR ARGLWYDD.

"*Canys myfi a dderbyniais gan yr Arglwydd yr hyn hefyd a draddodais i chwi; bod i'r Arglwydd Iesu, y nos y bradychwyd ef gymeryd bara: ac wedi iddo ddiolch, efe a'i torodd ac a ddywedodd, Cymerwch, bwytewch; hwn yw fy nghorff yr hwn a dorir trosoch: gwnewch hyn er coffa am danaf. Yr un modd efe a gymerodd y cwpan, wedi swperu, gan ddywedyd, Y cwpan hwn yw y testament newydd yn fy ngwaed; gwnewch hyn cynnifer gwaith bynag yr yfoch, er coffa am danaf. Canys cynnifer gwaith bynag y bwytaoch y bara hwn ac yr yfoch y cwpan hwn y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd oni ddelo.*"—1 Cor. xi. 23—26.

GEIRIAU y testyn ydynt yr adroddiad ysgrifenedig boreuaf o hanes sefydliad Swper yr Arglwydd. Dyry Matthew gofnodiad helaeth o'r hanes yn y chweched bennod ar hugain o'i Efengyl; ceir crynodeb fer o'r un peth yn y bedwaredd bennod ar ddeg o'r Efengyl gan Marc; ac adroddiad rheolaidd a manwl, sylweddol gyson â'r ddau, yn yr ail bennod ar hugain o'r Efengyl gan Luc; eithr, fel y gŵyr llawer o honoch, nid oedd Luc na Marc, na Matthew chwaith, ond odid, wedi ysgrifenu eu Hefengyl, pan gynhyrfwyd Paul i ysgrifenu yr epistol hwn at y Corinthiaid. O gadw hyn mewn cof, fe'n parotoir i ganfod ystyr brawddeg gyntaf y testyn. "Canys myfi a dderbyniais gan yr Arglwydd," ebe yr Apostol;--nid dyfynu o'r Efengylau; nid adrodd rhywbeth a glywsai gan yr apostolion eraill, y mae Paul yma, eithr hysbysu peth a ddadguddiwyd yn uniongyrchol iddo ef ei hun. Ie, a ddad-

guddiwyd felly iddo "gan yr Arglwydd," sef yr Arglwydd Iesu. Y mae epistolau Paul yn gyffredin, yn gystal a'r holl Ysgrythyrau, wedi eu rhoddi gan Ysbrydoliaeth Duw; ond buddiol yw cofio fod rhanau o'r epistolau hyny wedi cael eu rhoddi, nid yn ffordd gyffredin Ysbrydoliaeth, eithr yn ddigyfrwng i'r Apostol gan yr ail Berson Dwyfol, sef yr Arglwydd Iesu. Ceir dadguddiad felly o drefn gweithrediadau dydd y farn yn yr epistol cyntaf gan Paul at y Thessaloniaid (iv. 15—17), ac yma drachefn, ceir engraff o'r un peth. Pa bryd ac ymha le y derbyniodd Paul y dadguddiadau hyn sydd anhawdd ei benderfynu. Nid pan oedd Crist yma yn y cnawd, oblegid nid oedd Saul o Tarsus y pryd hyny wedi ei alw i fod yn Apostol nac yn Gristion o gwbl. Pa bryd ynte? A geir awgrymau ar hyn yn y Testament Newydd? Trwy gymhorth llyfr yr Actau, yn enwedig pan gyflenwir y bylchau â'r crybwyllion hanesyddol a geir yn y llythyr at y Galatiaid, yr ydym yn gallu dylyn hanes Paul o ddydd i ddydd, ac o fan i fan, bron yn ddifwlch, o awr ei dröedigaeth ar y ffordd hyd nes yr ydym yn ei golli mewn lle a eilw yn Arabia. Bu o'r golwg yno am beth amser, ac yna daeth i'r amlwg drachefn. Pa le a olyga Paul wrth yr Arabia hon, a pha beth a wnelai yno, pa le bynag ydoedd? A fu yr Apostol mewn ymneillduaeth yn anialwch Arabia,—yn efrydu cyfraith Moses ar Sinai lle y rhoddwyd hi, a'r tabernacl a'i wasanaeth yn yr anialwch, lle yr adeiladwyd ef? A fu efe yn myfyrio hanes y genedl sanctaidd ar hyd llwybrau troellog y deugain mlynedd, a'r eiddo y tadau enwog ar y llanerchau a anfarwolwyd gan eu coffadwriaeth. Ai dyna yr adeg y daeth at weledigaethau a dadguddiedigaethau yr Arglwydd y sonia am danynt yn ei ail lythyr at y Corinthiaid (xii.), ac y cipiwyd ef i'r drydedd nef, "pa un ai yn y corff ai allan o'r corff, ni wn?" a pha ryfedd, canys ni wyddai efe ei hun. Ai dyma yr adeg, pan yn derbyn gwersi preifat ar gyfer ei swydd a'i waith fel apostol, y cafodd drem ar raglen dydd y

farn, ac y dywedodd yr Arglwydd Iesu wrtho hanes ei oriau olaf,—hanes y bradychu a'r modd y cymerodd fara, ar ol bwyta y Pasc, y nos y bradychwyd ef, y cymerodd y cwpan wedi swperu, ac y sefydlodd yr ordinhad o Swper yr Arglwydd, penderfyned pob un o honoch drosto ei hun. Digon i'r perwyl sydd genyf mewn golwg yn awr, yw eich adgofio fod yr Apostol yn hòni i'r hanes yr awdurdod fwyaf diammheuol.

"Yr hyn hefyd a draddodais i chwi." Yr oedd Paul wedi bod yn Corinth yn llafurio ac yn planu yr eglwys; bu yn gweinyddu yr ordinhad iddynt â'i law ei hun; a'r pryd hyny yn adrodd hanes sefydliad, yn egluro amcan, ac yn traddodi iddynt bob peth angenrheidiol ei wybod ynglŷn â'r ordinhad o Swper yr Arglwydd. Ond wedi iddo gefnu arnynt, ymollyngodd yr eglwys i gyflwr hynod o ddirywiedig; cyfododd pleidiau ac ymrysonau yn eu plith; aethant yn hyf ar bethau cysegredig ac i gam-ddefnyddio y cymun sanctaidd. Dadl rhai dynion da yn erbyn adfywiadau crefyddol yw, fod adymweithiad yn eu dylyn—a mwy o oerni nag o'r blaen yn canlyn y gwres a gynnyrchir trwyddynt. Os oes nerth a gwerth yn y ddadl hon, cofier ei bod yn ddadl yn erbyn ymdrechion gweinidogaethol yr Apostol Paul yn ninas Corinth. Canlynwyd ei lafur yntau yno â dirywiad alaethus. Aeth y dychweledigion mor galed fel ag i gellwair gyda Swper yr Arglwydd. Troisant ef i'r un pwrpas llygredig a'r cariad wledd paganaidd; ymgynnullent i wledda, ac wedi eistedd i fwyta ac i yfed, codent i fyny i chwareu, llygrent eu gilydd; ac yn lle cadw y Swper yn Sacrament, yn ol yr hyfforddiad a draddodasai Paul iddynt, hwy a droisant y Sacrament yn Swper.

Yn y llythyr hwn, sydd yn sypyn o atebion i gwestiynau, ysgrifenodd Paul eiriau y testyn i'w hadgofio yn y modd difrifolaf o'r hysbysiaeth a roddasai o'r blaen iddynt am sefydliad ac amcan y Cymun. Yr oeddynt yn ei gamarfer, oblegid nad oeddynt yn glir eu golygiadau am ei

amcan; a'r ffordd feraf i gywiro eu golygiadau am amcan yr ordinhad oedd ail adrodd geiriau yr Arglwydd Iesu o barth ei sefydliad. Dyma yr hanes:—"Bod i'r Arglwydd Iesu, y nos y bradychwyd ef, gymeryd bara; ac wedi iddo ddiolch, efe a'i torodd, ac a ddywedodd, "Cymerwch, bwytewch." Oedd, yr oedd yno fwyta bara yn yr achos; cyn belled a hyny, yr ydych yn iawn synio; ond yn chwanegol at y tori a'r bwyta, efe a ddywedodd, "Hwn yw fy nghorff, yr hwn a dorir trosoch; gwnewch hyn er coffa am danaf." Ar hyn yr ydych yn colli golwg. "Yr un modd efe a gymerodd y cwpan;" yr oedd yno yfed hefyd, eithr nid i bwrpas gwledd, nac fel rhan o wledd y Pasc, oblegid "*wedi* swperu" y cymerodd y cwpan, gan ddywedyd, "Y cwpan hwn yw y testament newydd yn fy ngwaed, gwnewch hyn—yr yfed yn gystal a'r bwyta—er coffa am danaf." Ac yna, yn adnod olaf y testyn, crynhoa i amlygrwydd amcan bwriadedig y Cymun. "Canys cynifer gwaith bynag"—mynych neu anfynych, eithr bob tro y bwytaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwpan hwn, "y dangoswch"—mewn arwyddlun, y portreadwch, "farwolaeth yr Arglwydd;" dyma amcan gwreiddiol ac unigol ei sefydliad; ïe, ei amcan parhaus a sefydlog—"hyd oni ddelo."

Penodwyd y Swper hwn i fod yn sefydliad parhaol rwymedig ar yr eglwys hyd ail-ddyfodiad Crist. Dysgwyd gwers barhäol i'r eglwys gan ein Harglwydd pan yr ymwregysodd â llïan ac y golchodd draed ei ddysgyblion; eithr nid oes air yn yr Efengyl fod y weithred—sef golchi traed—i aros yn yr eglwys. Ond nid felly Swper yr Arglwydd. Penodwyd hwn i gael ei arfer—er na phenwyd pa mor aml—hyd ddiwedd amser; a rhoddwyd gorchymyn pendant gan ei Sylfaenydd bendigedig am i'r amcan fod o hyd yr un ac yn amlwg; a diau y bydd rhyw rai wrthi yn coffa am ei farwolaeth y tro cyntaf y bu ar y ddaear pan fydd yr udgorn mawr yn canu ac yntau yn ymddangos yr ail waith.

Credwyf mai buddiol fydd treulio yr oedfa i ystyried ystyr yr ordinhad werthfawr hon. Tuag at ddechreu yn y pen, edrychwn arni yn

## I.

Fel prawf.

Wrth edrych dros y gynnulleidfa, gwelwyf yma rai yn dangos arwyddion henaint, ac yn teimlo yn ddiau nad oes ar y ddaear hon i chwi ddinas barhaus; ond er ys blynyddoedd, lawer o honoch, beth bynag, wedi adeiladu eich holl obeithion dros byth ar Iesu Grist. Eraill o honoch, yn mlynyddoedd cyflawnder eich nerth, ac yn pwyso yn hollol ar Gristiogaeth am bob diogelwch a dedwyddwch, yn y byd hwn a'r byd a ddaw; a rhai o honom wrth ein swydd yn perswadio pawb a allom i wneuthur yr un peth; ac y mae yma dorf o bobl ieuainc hawddgar, sydd yn barnu pob peth yn golled ac yn dom fel yr ennillont Grist. Ond, gyfeillion hoff, beth os nad yw yr hanes am Iesu Grist yn wir; na fu y fath un erioed yn y cnawd, ac ar ein daear; na fu farw drosom ac na chyfododd i'n cyfiawnhâu? Beth a ddaw o honom? Syrthio a wna ein tŷ, a'n dyfetha byth dan ei adfeilion, os nad yw ei sylfaen ar y graig. Onid doeth ynom, ar achlysuron, yw archwilio ei sylfeini? Os ceir allan ei fod yn gadarn sail, oni chwanegai hyny at ein cysur? A mwy na hyny, mae coledd argyhoeddiadau croewon, cryfion a dirlethol o wirionedd crefydd, yn ammod hanfodol ymgysegriad i'w Sylfaenydd, a gweithgarwch zelog ac effeithiol o'i phlaid. Pa fodd y dichon aelodau eglwysig fod yn ymroddgar, haelionus, a hunanymwadol gyda'r achos, os nad yw y syniadau sydd ganddynt am bwysigrwydd Cristiongaeth, fel gwirionedd diammheuol, yn ddyfnion, ac wedi costio rhywbeth iddynt? Nid gwastraff ar amser na gwaith dianghenrhaid, fy nghyfeillion, yw treulio rhan o ambell oedfa i ystyried profion ein crefydd.

Wrth wneuthur hyn, buddiol yw cofio hefyd beth yw agwedd ac ysbryd yr oes yr ydym yn byw ynddi, ac nad yw yr hen arfau, oeddynt yn effeithiol hanner canrif yn ol, yn arfogaeth gyfaddas i ymladd brwydrau ein crefydd yn ein dyddiau ni. Yn y dyddiau gynt, tystiolaeth gwyrthiau oedd y prawf mwyaf argyhoeddiadol i wirionedd crefydd. Ffynai hygoeledd yn y goruwchnaturiol yn meddwl y werin; ac os bwriai goleu y lloer gysgod dyeithrol ei ffurf ar y ddaear oddiwrth ryw dwmpath gwyrdd mewn lle anial, meddai rhai ddigon o ffydd i weled ynddo ysbryd o fyd arall. Y demtasiwn oedd credu gormod. Cofus genym i sect o bobl fod yn llwyddiannus, dro yn ol, i berswadio dosbarth o bobl, nid yn unig i ymaelodi gyda hwy, eithr i werthu eu meddiannau, tori i fyny eu bywiolaeth, ysgaru eu hunain oddiwrth anwyliaid, gadael eu gwlad, croesi y Werydd mewn llong anniben, a chroesi Cyfandir America gyda gwedd ychain i ymsefydlu mewn gwlad na wyddent nemawr am dani, namyn na fod yno lawer o halen. Y cyfrif am hyn ydoedd, fod y bobl druain wedi credu fod y sect ddyeithr hono yn gwneuthur gwyrthiau; ac yr oedd hyny yn derfyn ar bob ymryson.

Erbyn hyn, y mae cyfnewidiad lled fawr wedi cymeryd lle yn agwedd y meddwl cyhoeddus gyda golwg ar hyn. Ffurfir y meddwl cyhoeddus gan ychydig o ddynion uwchraddol, sydd yn oraclau yn eu cylchoedd. Llawer o'r rhai hyny a gawsant addysg, ac ydynt yn darllen llyfrau diweddar; efrydant wyddoniaeth i ryw fesur, a dygant eu myfyrdodau ymlaen, a ffurfiant eu barnau ar egwyddorion gwyddonol a manwl feirniadol. Trwy eu dylanwad, y mae y meddwl cyhoeddus yn cael ei lefeinio â'r un ysbryd; canlyniad hyny ydyw annhueddrwydd meddyliol i werthfawrogi y goruwchnaturiol. Y demtasiwn bellach i lawer yw, nid derbyn crefydd gau ar dystiolaeth arwyddion gau, yn nghochl gwyrthiau, eithr ammheu awdurdod y wir grefydd, am fod yn anhawdd ganddynt gredu mewn

gwyrthiau o gwbl. Taera rhai o honynt, mai ymresymu mewn cylch yw defnyddio gwyrthiau a gofnodir yn y Beibl i brofi ei wirionedd a gwirionedd y grefydd a ddysgir ynddo. Gwyddoch y modd y cyfarfyddir â'r wrthddadl hon, ac nad oes achos i'w hofni; ond addefaf yn bersonol gymaint a hyn, fod agwedd feddyliol yr oes hon y fath, fel y mae y ddadl arferol, yn ei hen ffurf, yn rhy debyg i ymresymu mewn cylch, i gyflawni nemawr o wasanaeth mwyach tuag at argyhoeddi dynion meddylgar, anianol eu calonau, fod Cristionogaeth yn wirionedd. Y waedd gyffredin yw am ffeithiau. "A mind that is perplexed by doubt, can deal only with facts," ebe Macnaughton, a'r dystiolaeth hon sydd wir. Bydded felly, ynte. Hawdd yw cyfleu ffeithiau diammheuol wir mewn hanes, ac ofnadwy rymus fel prawf yn ffafr Cristionogaeth. Y mae Swper yr Arglwydd yn ffaith felly, ac yn cynnrychioli dosbarth o brofion a ddeuant yn fwy fwy gwerthfawr gyda chynnydd gwybodaeth. Pa fodd yr egluraf fodd ei phrawf yn ddealladwy i bawb, ac mewn ychydig eiriau? Yr wyf yn dal ceiniog yn fy llaw. Mae y plant yn gwrando yn awr. Ië, dyma hi, 'mhlant i. Ar un wyneb iddi ceir delw Victoria, ac ar yr ymyl eiriau i ddynodi mai Victoria yw Brenines Prydain. Ar yr ochr arall, mae "*Rule Britannia*" mewn darlun yn y canol, yr ymadrodd "*one penny*" ar yr ochrau, a'r dyddiad 1884 yn y gwaelod. Tybiwch fy mod yn colli y geiniog yma; ofer i'r plant lygadu; ni chollaf hi, os gallaf beidio, —a'i bod yn syrthio i'r llaid, ac yn suddo mor ddwfn, fel nad all yr un cybudd—os oes yn y wlad fôd felly— na neb o'i ddisgynyddion gael hyd iddi am ddau can mlynedd. Yn y flwyddyn 2084, wrth i rywun dori sylfaen i adeiladu tŷ, neu gapel, Cymraeg wrth gwrs, daw ei raw yn erbyn y geiniog yma. Gyda y bydd y gair allan fod hen *goin* wedi cael ei ddarganfod, pwy bynag fydd y dyn mwyaf gwyddonol ei feddwl yn y wlad yr adeg hono, gan nad beth fydd ei farn am

dystiolaeth gwyrthiau a gwerth Cristionogaeth, hwnw fydd un o'r rhai mwyaf awyddus i gael golwg ar y geiniog hon. Ac wedi ei chael i'w law, rhyfedd mor brysur a fydd i sychu ymaith y llaid ac i wneyd allan ystyr yr argraff a meddwl y geiriau, ac yn enwedig ddyddiad ei gwneuthuriad. "Argraff o ddynes o'r enw Victoria sydd arni," meddai. "Hi oedd brenines Prydain pan wnaed y geiniog hefyd, ac yr oedd hyny yn 1884." Yn awr, gofynaf, gan nad beth arall o ddyddordeb a ddaw i'r golwg trwyddi, oni ddwg y geiniog ar ei gwyneb dystiolaeth, nad yw yn debyg yr ammheuir hi gan neb, i'r ffeithiau fod y fath un a Victoria wedi bod ar y ddaear, ac mai hi oedd Penadur Prydain Fawr yn 1884, sef y flwyddyn y gwnaed y geiniog a darganfyddir?

Yr ydych wedi rhedeg o'm blaen at y cymhwysiad. Y mae y Sacrament o Swper yr Arglwydd yn ffaith hysbys i bawb, ac mewn arferiad ymhlith Cristionogion yn gyffredin. Gellir obrhain ei hanes i'r ganrif diweddaf, ac i'r ganrif cyn hyny; mewn gair, mae pont Thomas Cooper—*The Bridge of History over the Gulf of Time*—yn ein cario dros y pedair canrif ar bymtheg; ac yr ydym yn cael y Sacrament, heb ddim cyfnewidiad hanfodol ynddo, yn ffaith yn yr eglwys ymhob canrif yn ol i ddyddiau yr Apostolion—llygaid-dystion y sefydliad o hono. Pa gyfrif sydd am dano? I ba bwrpas y sefydlwyd ef? Y cyfrif Cristionogol yw fod y bara yn cael ei dori yn y Cymun er coffa am ddrylliad cnawd Crist, a'r cwpan er coffa am dywalltiad ei waed. Os cyfarfyddwch â rhyw un sydd yn gwadu neu yn ammheu diffuantrwydd neu resymolrwydd y cyfrif hwn, bwriwch faich y prawf arno, a hawliwch ganddo gyfrif amgenach am ddechreuad Swper yr Arglwydd—rhyw gyfrif mwy diffuant a rhesymol na'r cyfrif Cristionogol am y ffaith ryfedd hon sydd bellach uwchlaw deunaw can' mlynedd oed. Hyd nes y ceir hyny, teg ydyw i'r cyfrif Cristionogol aros; a thra y mae hwn yn sefyll, erys yn ein meddiant brawf

oddiwrth ffaith i wirionedd crefydd Crist. Os drylliwyd corff Crist, rhaid fod Crist wedi ymddangos yn y cnawd; os tywalltwyd ei waed, bu farw yn natur dyn; ac os gwnaed y cwbl drosom ni, rhaid fod i athrawiaeth yr iawn yn gystal a Pherson Crist sail ddiffuant mewn ffaith. Os gofyna rhywun, A yw yr Iesu hwn a fu farw yn Fab Duw? yr atebiad ysgrythyrol ydyw, fod ei adgyfodiad oddiwrth y meirw yn egluro hyny; ac yna, os gofynir am brawf i'w adgyfodiad, yr ydym yn cyfeirio sylw yr hwn a ofyn felly at ffaith, o'r un dosbarth i Swper yr Arglwydd, sef y Sabboth Cristionogol. Y cyfrif Cristionogol am hwnw yw, mai dydd gwyl wythnosol er cof am adgyfodiad Iesu Grist o'r bedd ydyw y Sabboth. Os gwrthodir y cyfrif hwn, yr ydym yn hawlio rhyw gyfrif arall rhesymol am dano. Nid y Sabboth Iuddewig yw; nid yw hwnw yn disgyn ar yr un diwrnod, nac yn nodweddiadol o'r un ysbryd a'r Sabboth Cristionogol, fel y tystia miloedd o Iuddewon sydd heddyw yn fyw. Nid effaith unrhyw arwedd yn y byd naturiol ydyw chwaith; oblegid nid oes dim mewn natur yn rhanu amser yn wythnosau heb son am awgrymu y dylid cadw y seithfed ran o wythnos, yn Sabboth. Y mae cylchdaith y ddaear o amgylch yr haul yn rhanu amser yn flynyddau; taith y lleuad o amgylch y ddaear yn rhanu amser yn fisoedd; a throad y ddaear ar ei hechel yn cyfleu amser yn ddyddiau; ond nid oes dim mewn daear, haul, na lloer, yn rhanu amser yn wythnosau. Ac eto mae yr wyl wythnosol hon, sef y Sabboth Cristionogol, yn ffaith ymarferol, hysbys i holl breswylwyr gwledydd Cred- er ys deunaw can' mlynedd. Beth sydd yn cyfrif am ddechreuad yr wyl? Gan na wn am yr un cyfrif arall cystal, yr wyf yn dal gafael yn yr esboniad Cristionogol. Pan dyr gwawr bore Sul, iaith pob pelydryn haul wrth godi y gwlith a sychu dagrau ein daear yw, "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir." Parai cofio hyn gymhorth rhyfedd i godi yn brydlawn i oedfa bore Sul.

Heb gyfeirio yn awr at y Sacrament o Fedydd—ac y mae gan hwnw hefyd ei dystiolaeth—mae Swper yr Arglwydd, mewn cyfuniad â'r Sabboth Cristionogol yn cyfansoddi prawf seiliedig ar ffeithiau nas gellir eu gwadu, ac mewn ffurf a gyferfydd â gofynion y meddwl mwyaf gwyddonol, i wirionedd hanesyddol crefydd fendigedig y Testament Newydd. Pwyswn arni byth; y mae Craig yr oesoedd dan ein traed.

II.

Fel arwydd.

"Canys cynifer gwaith . . . y *dangoswch.*" Ystyr y gair hwn yw portreadu, dangos mewn a thrwy arwyddlun. Elfenau y portread hwn, fel y gwyddoch oll, ydynt y bara a'r gwin. Ychydig ydynt mewn nifer, a hynod syml o ran eu natur. Y mae rhai yn tramgwyddo wrth Gristionogaeth yn achos ei Sacramentau, a hyny oblegid y gwrthwynebiad a goleddant tuag at arwyddion. Siaradant am hyn fel pe bae rhywbeth ynddo yn anghydsafol â chwaeth ddiwylliedig, os nad â synwyr cyffredin. Anhawdd yw gwybod paham, oblegid y mae dysgu egwyddorion trwy gyfrwng arwyddion yn rhan o'r gyfundrefn berffeithiaf o addysg sydd yn hysbys i feddwl dyn.

Y fath ddefnydd a wneir yn ein sefydliadau addysg o arluniau mapiau, ac arddangos-ddulliau. Yr ydych yn cofio y llenlïan oedd yn grogedig ar y pared yn yr ysgoldŷ ddyddiol, yn orchuddiedig â phaent amrywiol ei liw a gwahanol y ffurf a ddynodai. Wedi galw am osteg, cyfeiriai yr ysgolfeistr ei bwyntyl at ysmotyn melyn o baent gan ddyweyd, yn iaith y Saeson, "This is France;" yna at ysmotyn du bychan yn nghanol y môr, gan ddadgan, gyda phwyslais urddasol, "This is Great Britain," ac felly ymlaen. Ffrainc, yn wir, ai tipyn o baent ar ganfas yw Ffrainc, neu Brydain Fawr, neu gyfandir enfawr America? O nage, ond y mae yr ysmotiau paent yn *dangos* Ffrainc, &c. Dysgu

egwyddorion trwy gyfrwng arwyddion a wneir wrth ddefnyddio map, ac y mae y plant yn deall hyny.

"Ië, mae hyny yn eithaf i blant, ond am danaf fi," ebe rhywun, "trwy ddarllen llyfrau y dysgais i bob peth a wn." O'r goreu, gyfaill; eithr beth yw llyfr? Llyfr! Gwneir llyfr i fyny o gasgliad o bennodau; a phennodau sydd gasgliad o baragraphau; a pharagraphau yn gasgliad o frawddegau: a brawddegau o eiriau; a geiriau o lythyrenau: ond beth yw llythyrenau? Beth ydynt, yn wir? dim ond *arwyddion*. "Llythyrenau ydynt arwyddion llafarseiniau," medd grammadegwyr. Fel nad yw y dyn a wado ei ddyled i arwyddion, yn yr ystyr o fapiau ac arluniau, trwy ddyweyd mai wrth ddarllen llyfrau y derbyniodd ei addysg, yn gwneyd dim ond mabwysiadu dull arall o gyfaddef ei rwymedigaeth hollol i gyfundrefn arwyddion am bobpeth a fedd. Ofer hefyd yw diystyru arwyddion, trwy hysbysu mai wrth wrando darlithoedd y casglodd dyn ei wybodaeth; oblegid nid yw siarad ond cyfundrefn o arwyddion, sef seiniau, i gyfleu gwybodaeth trwy gyfrwng y glust, fel y mae llyfr yn gwneuthur hyny trwy gyfrwng y llygad. Mewn gair, pe gadewid allan y wybodaeth a dderbyniasom trwy y llygad, neu y glust, neu trwy gyfundrefn sydd yn cyfeirio mewn rhyw ffordd arall at ein meddyliau trwy arwyddion, ni fyddai yn ngweddill ond ychydig bach iawn, teilwng o'r enw gwybodaeth—rhy fychan i fod o unrhyw fudd ymarferol i neb o honom. A phwy ydym ni i edrych i lawr ar yr ychydig arwyddion sydd yn dangos nifer o egwyddorion yn sacramentau y grefydd Gristionogol? Na; nid oes dim yn yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd, a'i golygu fel arwydd, sydd yn anghydnaws á natur pethau, neu yn dramgwyddus i chwaeth o'r fath fwyaf diwylliedig. Syrth y gwawd ar gopa yr hwn a feiddio ei diystyru, ac yn gyfiawn felly.

Wrth lynu yn aiddgar wrth y syniad nad oes gwir achos tramgwydd i neb yn y Sacrament ar gyfrif ei nodwedd fel arwydd, doeth yw gofalu na chaffom ein cludo i'r

eithafnod cyferbyniol, a thybio, gyda'r Pabyddion, ei fod yn fwy nag arwydd. Daliant hwy ei fod yn draws-sylweddiad yn gystal, ïe, yn hytrach nag yn arwydd. Nid oes air yn y Beibl, nac egwyddor yn natur pethau, yn cadarnhâu y fath dyb. Mewn ystyr drawsenwol y dywed Crist am y bara, "Hwn yw fy nghorff;" yn yr un ystyr ag y nodwyd y dywed yr ysgolfeistr am ysmotyn o baent ar lïan, Hwn yw Gwlad Canaan.

Mae athrawiaeth traws-sylweddiaeth yn groes i lythyren y testyn, yn ei adroddiad o'r hanes. Y meddwl mewn traws-sylweddiaeth yw fod y bara a'r gwin yn colli eu sylweddau priodol, ac fod y naill yn cael ei droi yn wir gorff a'r llall yn wir waed yr Arglwydd Iesu Grist; ond yn yr hanes a geir yn y testyn, gelwir yr elfenau yn fara ac yn gwpan ar ol eu cysegru fel cyn hyny. "Bara" a gymerodd Crist, "bara" a dorodd ef, a "bara" a roddodd i'r dysgyblion—bara ydoedd o hyd. Ac os na thraws-sylweddwyd yr elfenau yn nwylaw Crist,—eu Creawdwr, ar ba sail deg y gellir credu yn eu traws-sylweddiad yn rhinwedd cyffyrddiad neu weddi gysegrol creadur o ddyn, pwy bynag a fyddo. Ymaith â'r fath syniad afresymol, a safwn ein tir fel Protestaniaid trwyadl a difloesgni gyda golwg ar y plyg hwn i'r Sacrament.

Pa beth a ddangosir drwy y Swper Sanctaidd?

*Yn un peth*, dangosir y ffaith o farwolaeth ein Harglwydd. Fel y dangosai y Pasc farwolaeth Crist ein Pasc ni cyn ei ddyfod, felly y mae y Cymun yn coffâu hyny ar ol i'r ffaith fendigedig gymeryd lle. Tra yr arferir y Swper hwn yn yr eglwys, cedwir marwolaeth Crist mewn cof ar y ddaear. Dengys, yn yr *ail le*, fod Crist wedi marw trwy drais. Ei ddryllio a gafodd. Nid marw o henaint a wnaeth ein Iesu mawr; ni chyrhaeddodd hen ddyddiau; nid pen gwỳn fu dan y goron ddrain; nid cefn crymedig hynafgwr fu yn dwyn y groes; gŵr ieuanc, ychydig uwchlaw deg ar hugain oed, ydoedd Iesu pan fu farw. Paham y bu farw, ynte? "Yr Arglwydd a fynai ei

ddryllio ef;" ei ladd gafodd y Messïah, ac nid o'i achos ei hun. Dangosir hyn yn nhoriad y bara. Yn y *trydydd lle*, arwydda y Cymun mai trwy ei farwolaeth boenus ef y darparwyd moddion i ni gael byw. "Efe a gymerodd fara." Bara a gynnal calon dyn, hwn yw prif foddion cynnaliaeth bywyd naturiol dyn. Y mae yma amrai o honoch wedi dechreu byw mewn ystyr ysbrydol, ac yn gobeithio cael byw byth; eithr byw trwy Grist; efe yw Bara y bywyd. Arwyddoceir hyn yn Swper yr Arglwydd. At yr oll arwydda hefyd, yn y *pedwerydd lle*, fod yn rhaid i ni dderbyn Crist croeshoeliedig, modd y caffom fyw drwyddo. "Cymerwch, bwytewch." Yr oedd y *bara* yn arwyddo mai Crist yw ein bywyd ni; a'r *tori* bara yn dangos natur ei farwolaeth; ond Efe a ddywedodd, "Cymerwch, bwytewch," i'n dysgu fod yn rhaid i ni gredu ynddo—bwyta ei gnawd ac yfed ei waed—cyn y gallo ei farw fod yn fara i neb o honom. Nid wrth feddwl am dano, neu edrych arno, y mae bara yn cynnal bywyd dyn. Rhaid cymeryd o hono, a'i fwyta. Llais y Sacrament atoch oll, gyfeillion, yw, "Cymerwch" Grist; os na chyfranogwch o hono drwy ffydd, meirw fyddwch, ac ni byddwch byw.

Arweinia hyn y meddwl yn naturiol at yr olygwedd nesaf i Swper yr Arglwydd, sef yn

III.

Fel sel.

Yr ydych yn deall ymha ystyr y golygir fod y Sacrament yn sêl. Dysg Eglwys Rhufain fod Bedydd ac Ordinhad yn gosod argraff na ddileir ar yr enaid, ac yn selio dynion dros byth yn eiddo yr Arglwydd. Nid hyn a feddylir gan Dduwinyddion Protestanaidd yn gyffredin, pan yn son am Swper yr Arglwydd fel sêl. Nid y meddwl chwaith yw, fod y Sacrament yn trosglwyddo gras, o anghenrheidrwydd, i'r rhai a gyfranogant o'r

elfenau. Y mae derbyn gras y moddion wrth y bwrdd, fel mewn pob moddion arall o ras, yn dybynu ar y cyflwr meddwl y byddwn ynddo ar y pryd. Y golygiad yn hytrach yw fod y Cymun yn sêl yn yr ystyr o ddwyn y pleidiau bwriadedig at eu gilydd; ac os cydffurfia dyn yn ffyddlawn â'r ammod gosodedig, y dygir ef i rwymyn cyfammod grasol gyda Duw, a arddangosir ac a selir yn yr Ordinhad o Swper yr Arglwydd. Perthyna a sêl i'r ddwy blaid. A welwch chwi y ddau ddyn acw yn myned i swyddfa y cyfreithiwr? Y mae un o'r ddau wedi gwerthu darn o dir i'r llall, ac yn ysgrifenu ei enw â'i law ar waelod y weithred ddarparedig; ac, wedi gosod ei fysedd ar y sêl goch, yn adrodd gwers sydd yn ddadganiad yn ngwydd tystion ei fod yn trosglwyddo pob hawl a feddai o'r tir i'r prynwr dros byth. Prynwr ydyw y llall, ac wrth fyned trwy seremoni gyffelyb, y mae yntau yn ymrwymo i dalu am y tir ar amserau ac yn ol trefn benodedig. Gelwir tystion i arwyddnodi ar y *parchment* fod y weithred gan y ddwy blaid yn eu gwydd hwy yn *signed, sealed and delivered.* Egwan ar y goreu, a phriodol mewn rhan, yw hyn, fel cymhariaeth i osod allan yr hyn a olygwn wrth Swper yr Arglwydd fel sêl. Ar un llaw, yr ydych chwi a minnau, wrth gymuno, megys yn ysgrifenu â'n llaw, "Mai eiddo yr Arglwydd ydym;" ac wrth osod ein bysedd ar y seliau cochion yn addaw ein bod yn rhoddi ein hunain, gorff ac eneidiau, pob peth ydym, pob peth allwn, a phob peth a feddwn i'r Tri Un Duw byth fendigedig. Ië, yr ydym yn Sacramentu hyn. Cyfeiria y gair Sacarament at y llw yn enw y duwiau a gymerai y milwyr Rhufeinig, i fod yn deyrngarol i Cesar, i ymladd dros yr ymerodraeth, ac i fyw a marw dros y gallu a'u derbyniasant yn filwyr. Pe bae achos yn galw, pa nifer o honom ni a fyddai farw dros Grist? Hyn sydd sicr, y mae pob cymunwr wedi addaw gwneyd a hyny trwy lw. Gwae y gwrthgiliwr os gelwir ef i'r farn cyn cael maddeuant, am dori llw mor ofnadwy bwysig, a

hwn. Beth pe bae holl broffeswyr crefydd ein gwlad yn ffyddlawn i lwon bwrdd y Cymun? Mor anwadal a llac yw ein hymgysegriad yn aml, a ninnau wedi selio ein hunain drosodd i Dduw, unwaith yn y mis er ys blynyddoedd.

Ar y llaw arall, y mae Duw Dad yn dywedyd wrth fwrdd y Cymun, "A myfi a fyddaf yn Dduw iddynt," ïe, yn "Dad iddynt;" y Duw Fab yn galw ei hun yn Iesu i ni; a chan osod ei law ar y sêl a gochwyd â gwaed ei galon, yn ymrwymo gwneyd ei oreu i'n gwaredu oddiwrth bechod; y Duw Ysbryd Glân yn bresennol hefyd wrth y bwrdd, ac yn gwystlo ei holl ymadferthoedd dwyfol o'n plaid. Mawrhawn ein braint. Grefyddwyr ieuainc, ewch i gyfammod yn ddioedi gyda Duw. Rhoddwch eich hunain yn gwbl iddo. Chwychwi gaiff y fantais. Ymofynwch ddeall felly yn fore gyda'r nefoedd. Bydd yn dda i chwi wrtho cyn hir. Y lleygwr mwyaf defnyddiol a llwyddiannus a fu yn ein Cyfundeb ni erioed oedd y diweddar Syr William M'Arthur. Ar ol ei farwolaeth cafwyd yn ei logell *pocket book* a gynnwysai gyfammod ysgrifenedig a wnaethpwyd ganddo gyda Duw. Bernir ei fod wedi ei wneuthur er ys blynyddau, ac wedi ei ailysgrifenu yn lled ddiweddar, a phob amser yn cael ei gario gydag ef. Yn y papyrun hwnw y llechai dirgelwch nerth cymeriad a llwyddiant y dyn rhagorol hwnw. Rhai o eiriau olaf yr anfarwol Jones, Talsarn, oeddynt, "Yr ydwyf finnau yn rhyw gredu na ddemnir byth mo honof. Y mae wedi dyfod yn fywiog i'm cof ryw hen gyfammod a wnaethum â'r Arglwydd, er ys llawer blwyddyn, yn Nolyddelen, pryd y rhoddais fy hunan i wasanaeth yr Arglwydd am byth, ac y cymerais yntau yn Dduw i minnau." Yr oedd cyfammod Dolyddelen wedi ei wneyd, mae'n debyg, er ys deugain mlynedd, a'r pregethwr mawr wedi darllen a meddwl a chynnyddu llawer yn y cyfamser, ac eto ar gyfammod bore ei oes y pwysai ei ben i farw. Ar ryw gyfammod cyffelyb a wnaed rhyngddo â Duw

wrth graig Pwll Pathew, a hyny pan yn llanc ugain oed, y gorweddai enaid mawr, addfed, y diweddar J. Hugh Evans, pan y bu farw yn Llanrwst y dydd o'r blaen; ac yr oedd yn dal dano; "yr oedd hi yn goleuo yn *splendid*" arno yn nghanol yr afon. Bobl ieuainc, brysiwch i gyfammod felly gyda Duw, fel y byddo y Cymun ar derfyn yr oedfa yn sêl i chwi.

A oes yma rywrai heb goffa marwolaeth ein Harglwydd? Oes y mae. Ow! Ow! Ai gormod genych wneuthur hyn—hyn bach—ar gais, ac o barch i Gyfaill goreu pechadur? Heb son dim yn awr am fanteision eraill fyrdd a mwy a sicrheir i aelodau eglwysig, credwyf fod y fraint hon yn unig yn rheswm digonol dros i bob enaid yn yr oedfa uno â'r eglwys yn awr. Duw o i ras a'ch cynnorthwyo i gyflawni eich dyledswydd. Amen.

---

# NODIADAU.

## A OES MODD CHWAREU GORMOD?

TRA y mae cymaint o chwareu yn y wlad ar hyn o bryd; torfeydd yn ymgasglu ynghyd i'r un lle ar bob dydd gwyl, ac yn amlach na hyny; llawer o honynt yn cyrchu o bell, ac yn gwario symiau mawrion ymhob modd ar eu teithiau; yn slafio ar y llawnt am y rhan oreu o ddiwrnod, yn chwys ac yn llafur, neu yn sefyll i edrych yn yr oerni a'r gwlaw trwy gydol yr amser; a thra y mae ymhlith y chwareuwyr hyn a'u canlynwyr lawer o bobl barchus eu trwsiad ac uchel eu honiadau, anhawdd yw peidio ymholi, A oes gwir anghen anianyddol, feddyliol, neu foesol, am hyn oll? A thybio fod peth o hono yn anghenrheidiol, a oes dim modd ymollwng yn rhy bell gyda'r gorchwyl difyr hwn? Yn syml, A oes modd chwareu gormod? Pwy a etyb yr ymholiad? Haeddai sylw yn ei wedd athronyddol yn unig, Beth ydyw philosophi chwareu? Pa ran o'r dyn sydd yn benaf mewn ymarferiad pan fyddo yn chwareu? A oes modd gorddadblygu y rhan hono, ar draul galluoedd uwch a phwysicach? Beth yw dirgelwch y duedd chwareus, yn enwedig mewn pobl mewn oed? A oes yna derfyn yn bod, os eir drosto, sydd yn newid cymeriad chwareu i rywbeth arall? A ydyw chwareu eithafol felly yn tueddu i anmharu y dyn? ai ynte rhywbeth ydyw chwareu nad oes modd cael gormod o hono?

A yw y fantais a geir oddiwrth chwareu yn ddigon pwysig i gyfiawnhau yr holl amser, yr holl arian, a'r holl nerth a dreulir arno y dyddiau hyn. A ydyw chwareu yn dyogelu manteision i gorff a meddwl dyn, na cheir hwynt mewn unrhyw ffordd arall? Ac a ydyw y manteision hyny mor aruthrol fawr, fel y mae yn ddyledswydd ar arweinwyr crefyddol y bobl adael eu cyfeillachau crefyddol—y cyrddau gweddïo—a'u teuluoedd, a'u hefrydiau, a phethau eraill a ystyrir genym yn bwysig, mewn trefn i'w sicrhau? Dylai hyn gael ystyriaeth dioed.

Ni wneir cyfeiriad yn awr at ddygwyddiadau cydfynedol y chwareu mawr yma; y torfeydd a gesglir ynghyd—y niwed a wneir i iechyd yr edrychwyr—yr yfed a'r annhrefn—y betio a'r ymryson a gymerant le. Nid oes le i ammheuaeth yn meddwl

neb gyda golwg ar y pethau hyny. Ond a oes yna rywbeth yn y chwareuon hyn sydd o duedd i dynu allan fantais sylweddol i gymdeithas oddiwrth y cynnulliadau enfawr a achlysurant, ac i wrthweithio drygedd y gogwyddiadau llygredig a ddygant i'r golwg? Cesglir torfeydd ynghyd gan y gymanfa bregethu, ac y mae yn bosibl iddi brofi yn achlysur i'r cnawd; eithr tuedda swn y canu mawl, y gweddio a'r pregethu a glywir, i ddifrifoli meddyliau, dwysbigo cydwybodau, ac i gymhell dynion i adael eu pechodau, a thrwy hyny fod y daioni tebygol yn gorbwyso y drwg achlysurol a ddygwydd ynglŷn â'r gymanfa. A oes rhywbeth cyffelyb yn perthyn i'r chwareuon yma? Os oes, da fyddai ei wneyd yn amlwg; os nad oes, beth am gyfrifoldeb eu harweddwyr?

Tra yr oedd fy meddwl yn aflonydd gan yr ymofynion uchod, daeth i'm llaw gyda'r post gopi o gyhoeddiad misol, rhagorol hefyd, yr Annibynwyr, ac mewn olrifyn gwelaf beth yw barn un o ohebwyr

Y "DYSGEDYDD" AR CHWAREUON.

Cydnebydd fod chwareu yn naturiol, yn feddyginiaethol, ac yn grefyddol, o fewn rhyw derfynau; ond na ddylai yr ysbryd chwareuol gael rhedeg yn wyllt ac eithafol, ac felly droi yn llafur, yn niwed ac yn annuwiol. Rhagdybia yr awdwr pwyllog hwn fod modd chwareu gormod, ac ofna "na bu chwareu mor arswydus a pheryglus o gyfundrefnus ag yw yn awr ymhob man." Ysgrifena yn gryf yn erbyn iselgampau—cardiau—chwareudai—hela llwynog—saethu colomenod—rhedegfeydd ceffylau, a chicio y bêl. Dadleua fod tuedd ynddynt i beri dadblygiad annaturiol—i achlysuro anfoesoldeb—i ladd cynnulliadau crefyddol yn ystod yr wythnos—i wrthweithio diwygiadau Puritaniaeth Ymneillduol y deyrnas, ac i fyrhau oes. Dyma gyhuddiadau pwysig yn erbyn chwareuon yr oes. Doeth fyddai i bobl feddylgar ein gwlad ddarllen ysgrif y Parch. William Thomas drostynt eu hunain. Wrth derfynu, dyry awgrymau gwerthfawr i'r eglwys Gristionogol, yn enwedig ar y modd i ladd yr ysbryd chwareuol anghymedrol a llygredig sydd yn bygwth y wlad.

Yr anhawsdra yw gwybod beth yw

GWIR GYFLWR MEDDYLIOL CYMRU.

Wrth ddarllen ein newyddiaduron ambell ddiwrnod, gellir meddwl mai *ymladd*, ac nid chwareu, ydyw bwriad y bobl a'u harweinwyr. Ymgyfyd pynciau gwladol ac eglwysig i'r wyneb nas gellir penderfynu arnynt, meddir, heb i ryw rai ddyoddef ac

ymdrechu, fe allai hyd at waed. A gellid tybio, ar adegau, fod y sefyllfa y fath fel nad yw dyddiau rhyfel ac ymladd ymhell. Ymddengys fel pe bae y pleidiau gwrthwynebol yn crynhoi eu byddinoedd ac yn nesau at eu gilydd; mae trwst arfau a'r bloeddio i'r gâd yn uwch ac yn fwy brochus beunydd; a'r nerthoedd sydd o'r tu ol yn cael eu cythruddo bron i bwynt cynddeiriogrwydd, gan y tlodi a'r wasgfa fasnachol sydd yn dal ar y bobl yn barhaus. Ond pan y mae dyn bron ofn agor y papur rhag darllen am ddechreuad gweithredol y frwydr, syrth y llygad ar unwaith ar hanes llaweroedd o chwareuon yn cael eu "*hymladd*" ledled y wlad! Pwy a all adnabod gwir agwedd y meddwl cyhoeddus ar hyn o bryd? Nid yw Cymru yn eithriad yn yr ymladd na'r chwareu. Oni ragdybia y fath sefyllfa fod cyflwr ysbrydol y wlad yn isel? Onid hyn yw y cyfrif fod achos i ddynion difrifol ymladd, a thuedd yn y lleill i chwareu cymaint? O, na rwygit y nefoedd! Atolwg, Arglwydd, achub yn awr; atolwg, Arglwydd, Par yn awr lwyddiant.

Y mae y chwareu yma yn cael cefnogaeth, fel y nodais o'r blaen, rhai o arweinwyr crefyddol y bobl. Cyfranant at ei dreulion, unant yn ei ymarferion, a dadleuant dros ei gyfreithlondeb. Clywais y dydd o'r blaen fod rhai crefyddwyr yn Lloegr yn cefnogi cynnaliad rhai o'r chwareuon hyn ar y Sabboth. Ac nid rhyfedd hyn, oblegid amlwg yw, mai dyma yr ysbryd ag y tuedda i'w gynnyrchu. Bu chwareu mawr yn y deyrnas hon o'r blaen, fwy nag unwaith; a'r arfer y pryd hyny hefyd oedd dwyn ymlaen eu campau ar y Sabboth. Yn ei ofal tadol am gysuron ei ddeiliaid, gorchymynodd Iago I. i lyfr gael ei gyhoeddi ar yr achos, sef y

BOOK OF SPORTS (LLYFR Y CHWAREUON).

Parotowyd ef gan yr Esgob Moreton; a chyhoeddwyd ef o bwrpas i gefnogi chwareuon ar Ddydd yr Arglwydd. Rhag gwneyd cam â'r cyfansoddiad coeth (?), rhoddaf ei ddadganiad yn yr iaith a ddeallir oreu gan rai o arweddwyr chwareuaeth yr oes hon:—"That for his good people's recreation his Majesty's pleasure was, that after the end of divine service, they should not be disturbed, letted or discouraged from any lawful recreations; such as dancing either of men or women; archery for men; leaping, vaulting or any such harmless recreations; nor having of May-games, Whitsonales, or morrice dances; or setting up of Maypoles or other sports therewith used, so as the same may be had in due and convenient time, without impediment or let of divine service; and that women should have leave to carry rushes to the church for the decoring

of it, according to their old customs; withal prohibiting all unlawful games to be used on Sundays only; as bear-baiting, bull-baiting, interludes, and at all times (in the manner sort of people prohibited) bowling. No recusant (hyny yw, Pabydd) was to have the benefit of this declaration; nor such as were not present at the whole of divine service; nor such as did not keep to their own parish churches (sef y Puritaniaid.)" Gorchymynwyd fod i'r declarasiwn hwn gael ei ddarllen yn holl eglwysi y wlad. Dan deyrnasiad Siarl I., drwy ddylanwad yr Archesgob Laud, ail gyhoeddwyd Llyfr y Chwareuon. Yn y llys, dygid ymlaen ar y Sabboth bob math o chwareuon gwagsaw, a chymhellid y bobl ieuainc o bob gradd yn y deyrnas i ymroddi ymhob digrifwch a chwareuaeth.

Dylid nodi ynglŷn â hyn, fod yr Archesgob Abbott, heb ofni llid y brenin Iago, wedi gwrthod caniatau cyhoeddi y *Book of Sports* yn eglwysi ei esgobaeth, ac fod llïaws o glerigwyr duwiol heblaw efe dan y naill deyrnasiad a'r llall wedi anufuddhau i'r wys frenhinol. Hynod iawn oedd y cyfyngiad ar freintiau y Llyfr; gorchymynai y Brenhin nad oedd y Pabyddion, y Puritaniaid, nac esgeuluswyr addoliad ddwyfol i gael cyfranogi yn y chwareuon!

A oes rhywun o'n chwareuwyr yn awyddus i argraffiad newydd o'r llyfr uchod gael ei gyhoeddi dan nawdd ein Brenhines? Diau nad oes. Y mae dros ddau can' mlynedd er cyhoeddiad cyntaf y *Book of Sports*, a chynnydd mawr wedi cymeryd lle yn moesau a chwaeth y bobl yn y cyfamser. Oes, gynnydd mawr mewn *rhai* pethau; ond ai onid oes berygl i bobl wareiddiedig yr oes hon redeg ar ol arferion pobl anwybodus a phaganaidd yr hen oesoedd mewn chwareu gormod?

J. E.

---

# XLVII.

## TROEDIGAETH YR IUDDEWON I'W FAWR DDYMUNO.

"*O frodyr, gwir ewyllys fy nghalon, a'm gweddi ar Dduw dros yr Israel, sydd er iachawdwriaeth.*"—RHUF. X. 1.

AR y dydd cyntaf o fis Hydref, 1845, dros dair blynedd a deugain yn ol, ymgynnullodd llïaws o frodyr crefyddol ynghyd i sylfaenu yr undeb ag y sonir cryn lawer am dano y dyddiau hyn, sef y Cynghrair Efengylaidd. Yr oedd dymuniad am fwy o agosrwydd brawdol, ac, os gellid ei gael, rhyw gymaint o gydweithrediad crefyddol, wedi bod yn anesmwytho meddyliau llawer o'r dynion goreu yn Mhrydain ac yn America, er ys rhai blynyddoedd cyn hyny; ac yn ganlynol i ychydig ymgyfarchwel personol rhwng rhai o'r gwŷr mwyaf blaenllaw â'u gilydd, argraffwyd cylchlythyr, a chasglwyd ynghyd ddau cant ac un ar bymtheg o frodyr yn perthyn i ugain o wahanol gangenau o eglwys Crist. Lerpwl oedd y man cyfarfod, a chafwyd eisteddiadau yno am dri diwrnod. Yn bresennol yr oedd John Angell James, Baptist Noel, Bickersteth, Candlish, Cunningham, Brown, Raffles, Robert Newton, T. P. Bunting, Symington, a Syr Culling Eardley, ynghyd ag amryw o oreugwyr eraill ag y palla amser i'w henwi. Cytunwyd ar nifer o erthyglau credo fel ammod aelodaeth, treuliwyd amser buddiol i ymddyddan a gweddïo, a gosodwyd i lawr sylfaen undeb ar yr hon y mae y Cynghrair wedi bodoli a gweithredu, er mantais fawr i grefydd Crist, hyd y dydd heddyw. Fel y gallesid dysgwyl, mae cylch y Cynghrair wedi lledu llawer yn y cyfamser, ac yn cynnwys Protestaniaid bron o bob cangen, nid yn y deyrnas hon yn unig, ond ar y Cyfandir, ac yn

America. Dealler mai undeb Cristionogol ydyw, ac nid undeb eglwysig; ac nid yw yr aelodau yn cynnrychioli neb ond hwy eu hunain. Dyma hanes cychwyniad a natur cenadwri y Cynghrair Efengylaidd, fel ei gelwir, sydd wedi anfon cais atom oll fel eglwysi eleni eto, fel arfer, i ofyn i ni dreulio yr wythnos gyntaf o'r flwyddyn newydd mewn gweddi. Fel y gwelwch, y mae y cais yn dyfod oddiwrth rai o ddynion blaenaf, mwyaf brawdol yr holl eglwysi, Ymneillduol a Sefydledig. Yn chwanegol at y cais am wythnos o weddïo, apeliant hefyd at bregethwyr yr efengyl i alw sylw eu gwrandawyr y Sul diweddaf at y ddyledswydd bwysig o gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth, ac i bregethu drachefn heddyw ar droedigaeth yr Iuddewon—mater sydd, hyd yn hyn, wedi cael rhy fychan o sylw cynnulleidfaoedd crefyddol yn gyffredinol. Fel y cydsyniwyd â deisyfiad y Cynghrair y Sabboth a'r wythnos ddiweddaf, yn y pregethu a'r gweddïo, modd y gellir cario eu rhagdrefn allan yn llawn, gwahoddir eich ystyriaethau heddyw, ar bwys adnod y testun, at bwnc penodedig y dydd, sef Troedigaeth yr Iuddewon.

Mewn dosbarthiad cyffredinol, cynnwysa yr epistol at y Rhufeiniaid dair rhan; sef y rhan bynciol, sydd yn terfynu gyda'r wythfed bennod; rhan ymarferol, yn dechreu gyda'r ddeuddegfed bennod, ac yn cyrhaedd hyd ddiwedd y llythyr; ac yna, yn fath o draethodyn bychan, cyflawn, wrtho ei hunan, ceir y bennod naw, deg, ac un ar ddeg, fel cun yn y canol, rhwng y ddwy ran a nodwyd. Pwnc y tair pennod attodiadol hyn yw yr *Iuddewon;* eu gwrthodiad yn y nawfed; gwir achos eu gwrthodiad yn y ddegfed; ac yna eu rhagolygon yn yr unfed bennod ar ddeg; fel y mae yn hawdd canfod fod yr Apostol yn y bennod hon yn olrhain eu gwrthodiad i'w gwaith yn "ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain" yn lle ymostwng i gyfiawnder Duw. Ac wrth ddangos fel hyn fod yr achos o'u holl ddifreiniad ynddynt hwy eu hunain, y mae yn eu beïo yn dost, ac yn arfer geiriau cryfion i ddynoethi eu

hymddygiad. Eithr cyn dechreu ar y gorchwyl poenus hwnw, sicrhâ yn y modd difrifolaf mai cadwedigaeth yr Iuddewon, ac nid eu gwrthodiad, oedd dymuniad dyfnaf ei galon: "O frodyr, onid fy nghenedl yn ol y cnawd ydych, fel y nodais yn y bennod flaenorol? Gwyddoch fy mod yn eich caru fel fy enaid fy hun. Gwir ewyllys fy nghalon, a'm gweddi ar Dduw drosoch, sydd er iachawdwriaeth. Mae Gwrandawr gweddi yn dyst fy mod yn dyweyd y gwir; ïe, pwnc mawr fy ngweddi ydyw ar eich bod yn gadwedig." Pe gellid ein cael ninnau, pe na byddai ond dros dro, i'r un cyflwr meddwl gyda golwg ar achos tragywyddol yr Iuddewon, fe atebai yr oedfa ddyben da; ac i'r graddau hyny fe gyrhaeddai cais y Cynghrair Efengylaidd yr amcan rhagorol oedd mewn golwg wrth benderfynu ar y pwnc hwn. Tuag at gynnyrchu ynom yr awyddfryd grymus hwn gyda golwg ar iachawdwriaeth yr Israel, aroswn uwch ben *yr ystyriaethau neillduol, a gyfodant o hanes ac arbenigrwydd yr Iuddewon, sydd dros ddymuno eu troedigaeth.*

Y mae yna ddosbarth pwysig o resymau cyffredinol, rhesymau a deimlir genym dros ddymuno iachawdwriaeth cenedloedd y byd yn ddiwahaniaeth, sydd yn gymhwysadwy at achos yr Iuddewon. Os ydyw gogoniant Duw, gwerth ac anfarwoldeb dyn, rhagorolder a llwyddiant cyfryngoliaeth Crist, a chariad yr Ysbryd; y trueni presennol a thragywyddol a ochelir, a'r dedwyddwch yn y byd hwn ac yn y byd a ddaw a sicrheir trwy fod yn gadwedig, yn ein cymhell i fawr ddymuno cadwedigaeth cenedloedd y ddaear yn gyffredinol, y mae pob un o'r ystyriaethau hyn yn rheswm dros i ni ddymuno hyny i'r Iuddewon hefyd. Y mae yr Iuddew yn ddyn, yn greadur cyfrifol ac anfarwol; yn bechadur agored i drueni bythol, ac yn bechadur a garwyd gan Dduw ac a brynwyd gan Grist; yn bechadur ag y dygai ei gadwedigaeth ogoniant i Dduw a dedwyddwch tragywyddol iddo ei hun; fel, ar yr holl gyfrifon yna, a llawer eraill cyffelyb, mae ei gadwedigaeth yn amcan i'w fawr ddymuno. Ond at hyn oll cyfyd dosbarth o ystyr-

iaethau o hanes ac arbenigrwydd yr Iuddewon fel cenedl, nad ydynt yn perthyn i'r un genedl arall, sydd yn cymhell dynion meddylgar a da i ddymuno eu hiachawdwriaeth. A'r dosbarth hyny o ystyriaethau, mae'n amlwg, oedd o flaen meddwl yr Apostol pan yn ysgrifenu adnod y testyn. Noda rai o honynt yn nechreu y nawfed bennod, ac un yn yr adnod nesaf at y testun yn y bennod hon; ac y mae eraill yn cael eu hawgrymu yma ac acw drwy ei epistolau.

I.

Tuag at ddechreu yn y pen, nodaf, *yn mlaenaf*, fod *henañaeth* y genedl Iuddewig yn gymhelliad priodol iawn dros i ni gymeryd dyddordeb ynddi, a dymuno iddi y daioni penaf, sef iachawdwriaeth. Addefir gan bawb fod yr Iuddewon yn genedl er ys amser maith iawn, ac yn bobl mewn cyfnod boreuach na hyny. Dichon mai hwy yw y bobl hynaf ar y ddaear; diau mai hwy yw y bobl hynaf ag y gwyddom eu hanes gyda mesur gweddol o sicrwydd. Y fath ydyw yr ansicrwydd a'r ffug sydd yn toi yr hanes a ddyry y Chineaid am danynt eu hunain, fel mai gwell ydyw eu gadael hwy y tu hwnt i'r mur a gyfodasant i gadw pobl eraill allan, pan yn cymharu henafiaeth cenedloedd y ddaear. Am yr Iuddewon, mae eu hanes hwy yn ein meddiant, ac yn cynnwys y darn mwyaf diffuant o hen hanes sydd ar gael; ac yn ol yr hanes dilys hwn, hwy yw y bobl hynaf sydd ar y ddaear. Yr oedd Jerusalem yn ddinas enwog cyn sylfaeniad Rhufain; Josua yn gadfridog cyn geni Alexander Fawr; Moses yn ddeddfwneuthurwr oesoedd o flaen Solon; Solomon yn athronydd o flaen Plato; Dafydd yn ber-ganiedydd Israel o flaen genedigaeth Homer na Virgil; ac y mae llyfrau yr Iuddewon, sef yr Hen Destament, yn foreuach eu dyddiad na llenyddiaeth yr un genedl ar y ddaear.

Y mae dynion diwylliedig, yn gyffredin, yn cymeryd dyddordeb mewn hen bethau—hen lyfrau, hen adeiladau,

hen arferion a defodau; parchant hen bobl, a thalant warogaeth i achau hen deuluoedd a tharddiad hen genedloedd. Arwydd o anfoesgarwch yw anmharchu henaint, ac edrychir ar ddiystyrwyr henafiaeth fel Gothiaid a Vandaliaid gwylltion a dienwaededig. Dylem ni, y Cymry, sydd yn hen genedl ein hunain, fod yn barotach na neb i anrhydeddu pobl fel hyn ar gyfrif eu henafiaeth, ac i ddymuno iddynt, o wir ewyllys ein calon, y daioni penaf, sef ar eu bod yn gadwedig.

II.

*Yn ail*, mae yr Israel yn genedl a *fawrhawyd mewn modd arbenig gan Dduw am oesoedd lawer.* Ni wnaeth efe gymaint i'r un genedl arall erioed am gyfnod mor faith. Cyfaill Duw y galwyd Abraham eu tad, ac eiddo hwy oedd y mabwysiad, sef yr anrhydedd o gael eu trafod fel mab mabwysiedig y Goruchaf. Hwy oedd biau "y gogoniant" am oesoedd lawer; yn eu plith hwy y preswyliai Duw, dan arwydd y Secina, mewn modd neillduol, fel eu Brenhin a'u Duw; "a'r cyfammodau," sef y trefniant Messianaidd a roddwyd ar y cyntaf mewn addewid i Abraham ac a adnewyddwyd lawer gwaith a llawer modd i'r tadau ac i'r genedl trwy Moses; a "dodiad y ddeddf" —y mynegiad perffaith o ewyllys Duw a dyledswydd dyn a gafwyd yn y ddeddf foesol; "a'r gwasanaeth,"— sef y trefniant Lefiticaidd a'r addoliad a gychwynwyd yn y tabernacl ac a barhawyd yn y deml am ganrifau; "a'r addewidion"—amrywiol a melusion a wnaeth Duw i'r genedl yn dymhorol ac yn ysbrydol. "Eiddo y rhai yw y tadau"—Patriarchiaid yr Iuddewon, Abraham, Isaac a Jacob; Dafydd a'r Salmwyr; Moses a'r Prophwydi; ac enwogion crefyddol yr oesau. Ië, yn ben ac yn goron ar y cwbl, o honynt hwy "yr hanodd y Crist o ran y cnawd." Iuddewes oedd ei fam ac Iuddew trwyadl ydoedd yntau hefyd; â thafod Iuddew y llefarodd fel na

lefarodd dyn erioed; â llaw Iuddew y porthodd y miloedd ar y maes fwy nag unwaith, âg ychydig dorthau a physgod, ac y cyffyrddodd â llygad un nes gwneuthur llygaid y dall fel y dydd, ac âg elor y llall gan droi angau yn ei wrthol a danfon y marw adref yn fyw o'i angladd ei hun; a siarad yn ddynol, gwaed Iuddew fu yn cochi rhew Gethsemane, ac yn dyhuddo gofynion Calfaria. Gŵr o Iuddew o ran y cnawd ydyw y Crist y rhaid ymaflyd ynddo mewn trefn i fod yn gadwedig, yr hwn hefyd, sydd uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd.

I'w gynfab Israel, gyda'r hwn y preswyliodd ar y ddaear mewn modd arbenig, i'r hwn yr ysgrifenodd lechau y dystiolaeth â'i law ei hun, ac y rhoddodd y cyfammodau a'r addewidion, gosododd fawrhad hefyd yn y gweithredoedd nerthol a gyflawnodd er ei fwyn. Bu mewn caethiwed yn yr Aipht am bedwar can' mlynedd, ond yr oedd Duw Abraham â'i lygad arno, ac yn yr amser priodol Efe a ddanfonodd Moses at Pharaoh y brenin, gan ddywedyd, "Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Fy mab i, fy nghyntafanedig, yw Israel. Gollwng fy mab, fel y'm gwasanaetho: ond os gwrthodi ei ollwng ef, wele, mi a laddaf dy fab di, sef dy gyntafanedig." Ac yn yr Exodus mawr a drefnwyd iddo, tywalltwyd pläau fel cenllysg ar y gorthrymwyr, agorwyd y môr i Israel ddianc, a chauwyd ef yn ol i lyncu yr Aiphtiaid. Wedi cyrhaedd o Israel at odrau Sinai, canwyd yr udgorn, chwareuai yr elfenau, a siglai y mynydd pan ddisgynodd yr Arglwydd i wneuthur cyfammod â'i bobl. Ac ar y daith faith trwy yr anialwch, rhoddwyd diod i'r genedl etholedig o'r graig dân, a manna o'r cymylau, a chludwyd soflieir iddi ar adenydd y gwynt. Safodd yr Iorddonen yn bentwr i wneyd ffordd iddynt o'r anialwch i'w gwlad; â chyrn hyrddod bwriwyd i'r llawr gaerau Jericho; ymladdodd y ser yn eu graddau o'u plaid, a gweithiodd yr haul ddau ddaliad olynol heb seibiant rhyngddynt er eu

mwyn. Rhoddwyd iddynt yn etifeddiaeth wlad dda odiaeth, yn llifeirio o laeth a mêl, cyfodwyd barnwyr a breninoedd i'w llywodraethu, offeiriad a phrophwydi i'w gwasanaethu mewn pethau sanctaidd oes ar ol oes; danfonwyd Ioan Fedyddiwr yn ysbryd a nerth Elias i droi calonau y plant at y tadau ac i barotoi ffordd yr Arglwydd yn eu plith; ac yn ddiweddaf oll, Duw a ddanfonodd ei Fab i fyw yn eu gwlad, pregethu yn eu mysg, marw yn eu gwydd, adgyfodi o'r ddaear, esgyn i'r nefoedd oddiar ben un o'r mynyddoedd, a chyn cau o'r drws ar ei ol, tywalltwyd ei Ysbryd a gwnaed yr wyl yn Bentecost mewn gwirionedd. Yn y pethau hyn oll, dyrchafwyd yr Iuddewon hyd y nefoedd, a gosododd Duw fwy o anrhydedd arnynt na'r un genedl arall yn hanes y byd. Os ydym mewn cydymdeimlad â Duw, ac yn gwerthfawrogi y neb a fawrhaodd efe, y peth lleiaf a wnawn ydyw anfon gweddi ato o wir ewyllys ein calon dros yr Israel, ar eu bod yn gadwedig.

## III.

Gweddus i ni ddymuno hyn i Israel, yn y *trydydd lle*, ar *gyfrif y breintiau goruchel a dderbyniasom trwyddynt.* Y llyfr goreu a feddwn, a'r unig lyfr Dwyfol a roddwyd i ddyn erioed, yw y Bibl. "Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan Ysbrydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder: fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Ond rhoddwyd yr Ysgrythyr trwy gyfrwng ac offerynoliaeth ddynol. "Eithr dynion sanctaidd Duw a lefarasant megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân." Gair Duw wedi ei ddadguddio trwy ddynion ydyw y Bibl. Mewn un peth, mae y gair ysgrifenedig yn gyffelyb i'r Gair Cnawdoledig, sef yw hyny, fod dwy elfen wahanol, sef y Ddwyfol a'r ddynol,

yn cydgyfarfod ynddo. Meddyliau Duw ydyw sylwedd y Bibl, ac Ysbryd Duw oedd golygydd y dadguddiad o hono; ond dynion sanctaidd oedd y pinau ysgrifenu a'r offeriant etholedig i ddwyn allan y llyfr.Ië, ac Iuddewon oedd yr oll o'r dynion hyny. Cymerer yr Hen Destament, llyfr Iuddewig ydyw o ran cyfryngau ei awdwriaeth; y pum' llyfr cyntaf sydd yn cynwys hanes y Dechreuadau —dechreuad y nefoedd a'r ddaear—dechreuad yr hil ddynol—dechreuad priodas—dechreuad aberth—dechreuad y Sabboth—dechreuad addewidion cyfammodol—dechreuad cenedloedd ac ieithoedd, ac yn arbenig y genedl Hebreig —yn Genesis; hanes dygiad allan y genedl hono o'r Aipht at odreu Sinai yn Exodus; adroddiad o weddill y daith o Sinai at lan yr Iorddonen yn Numeri; cofrestriad o'r aberthau, a'r gwyliau gosodedig,—yn y naill dysgir y ffordd at Dduw a thrwy y llall y modd i rodio gyda Duw,— yn Lefiticus; a'r llyfr pregethau cyntaf a ysgrifenwyd erioed yw Deuteronomium; ond gydag enw Moses fel eu hawdwr y cysylltir hwynt oll, a Moses oedd Iuddew. Y llyfr nesaf atynt gyda'r hanes drychebol a'i wersi cyfoethog am ymsefydliad y genedl yn eu gwlad, Josua oedd yr awdwr, a'r Josua hwn hefyd oedd Iuddew. Gan Iuddewon yr ysgrifenwyd yr hanes dyddorol, cyforiog o addysgiadau, a geir yn y Barnwyr a'r Breninoedd, y Croniclau a llyfrau Samuel. Y ddau draethawd hanesyddol a geir dan enw Ruth ac Esther ar Ragluniaeth ydynt Iuddewig hollol o ran eu defnyddiau a'u hawdwriaeth. Iuddewon trwyadl oedd Ezra, y diwygiwr crefyddol, a Nehemiah, y diwygiwr gwladol, ac mor felus a rhyfedd ydyw yr hanes a roddant hwy, yn eu cyfroddiad tuag at wneyd Bibl. Pwy o honom sydd a'r nad yw yn hoffi llyfr Job, yn enwedig chwychwi sydd wedi profi tywydd garw yn eich dydd; ond yr oedd Job yntau o linach Abraham ond odid, serch nad ydoedd yn ddisgynydd o hono trwy Sarai a hâd yr addewid. Diliau mêl pobl yr Arglwydd ymhob oes, yw llyfr y Salmau, ond yr oedd Dafydd a'u holl

awdwyr yn Iuddewon o waed coch cyfan. Chwychwi, y bobl ieuanc yma, sydd yn gwneyd llawlyfr moesgarwch o'r Diarhebion a thestynlyfr athroniaeth bywyd o'r Ecclesiastes, a rhiangerdd bur ac ysbrydol o Gân y Caniadau, nac anghofiwch mai Iuddew cyffredin ei enw ond annghyffredin ei athrylith oedd Solomon, eu hawdwr. Ac i Iuddewon yr ydym oll yn ddyledus dan Dduw am brophwydoliaethau efengylaidd Esaiah; pregethau grymus Jeremïah; olwynion ofnadwy, a'r pethau byw a thanllyd mewn gweledigaeth ac mewn meddwl a gair a roddwyd i ni trwy Ezeciel; y breuddwydion arwyddocaol a'r gweledigaethau dyeithrol a geir yn Llyfr Daniel y prophwyd anwyl, ynghyd a'r trysorau anmhrisiadwy a gynnwysir yn ysgrifeniadau y prophwydi llai. Pwy oedd Ioan Fedyddiwr, rhagredegydd y Messïah—dyn a wnaeth fwy o waith mewn chwe' mis nag a wna llawer o honom yn oes Methuselah? Pwy oedd apostolion y Messïah pan ddaeth? Pwy oedd Simon Petr, pregethwr mawr dydd y Pentecost? Ioan ei frawd, y dysgybl anwyl ac unig brophwyd y Testament Newydd? Pwy oedd Paul awdwr dwsin o lyfrau gwerthfawrocaf y Bibl, ac Apostol mawr y Cenedloedd? Ië, pwy? Mae yr atebiad yn eich genau. Iuddewon oeddynt bob un. Ië, trwy gyfrwng yr Iuddewon y cawsom ni Fibl o'r nef. Onid ydym dan rwymau bythol iddynt pe na byddai ond ar y cyfrif hwn yn unig?

Crybwyllwyd eisoes am y breintiau crefyddol a roddwyd i'r genedl am gyfnod maith, dan yr hen oruchwyliaeth, ac o dan y newydd hefyd. "Gan ddechreu yn Jerusalem" oedd un o gyfarwyddiadau olaf y Gwaredwr cyn gadael y ddaear, gyda golwg ar drefn pregethiad yr efengyl. Ond ysywaeth, nid adwaenasent amser eu hymweliad, ac o herwydd eu hanghrediniaeth hwy a dorwyd ymaith, a throsglwyddwyd eu breintiau i ni y Cenedloedd. Mewn cyfeiriad at hyn y dywed yr Apostol, fod eu cwymp hwy yn olud i'r byd, a'u lleihad hwy yn olud i'r Cenedloedd. Yn

awr, fel pwnc o gydnabod rhwymau a thalu dyled, gweddai i Gristionogion yr holl fyd ewyllysio yn dda i'r Iuddewon a gweddïo ar Dduw ar eu bod yn gadwedig.

## IV.

Yn y *pedwerydd lle*, hawlia achos yr Iuddewon ein hystyriaeth ddwysaf *ar gyfrif y dyoddefiadau a'r trueni ag y darostyngwyd hwynt iddynt* am oesoedd lawer. Appelia hyn at ein cydymdeimlad. Mae hanes yr Iuddewon yn ystod y deunaw can' mlynedd cyntaf ar ol dinystr Jerusalem yn un o'r pennodau mwyaf pruddaidd i'w darllen yn hanes holl genedloedd y byd. Byth er pan ddywedasant am y Cyfiawn hwnw, "Bydded ei waed ef arnom ni, ac ar ein plant," mae peth tebyg iawn i farn Duw wedi bod arnynt o genedlaeth i genedlaeth. Anhawdd yw darllen yr hanes heb feddwl am eiriau yr Arglwydd trwy enau Moses ei was, "A'r Arglwydd a ddenfyn arnat ti felldith, trallod a cherydd yn yr hyn oll y dodech dy law arno, ac yn yr hyn oll a wnelych." (Deut. xxviii. 20.) Yspeiliwyd hwynt o'r pethau oedd ganddynt, dirmygwyd eu personau, diraddiwyd eu gwragedd a'u plant, diarddelwyd hwynt o gymdeithas, alltudiwyd hwynt y naill dro ar ol y llall o bob teyrnas ar y ddaear. A gwaeth na'r cwbl, tywalltwyd eu gwaed fel dwfr. Yn ofer y crwydrasant druain o wlad i wlad ledled y ddaear, i ymofyn diogelwch a gorphwysdra; cyfodai pawb i'w herbyn, ac ni chawsant, mwy na cholomen Noah, orphwysdra i wadn eu troed. Dylynid eu camrau i bob gwlad gan felldith Duw, a chyflogwyd pob cenedl ar y ddaear i'w cystuddio.

Yn ystod y ganrif gyntaf o'r cyfnod Cristionogol lladdwyd dros filiwn o honynt â'r cleddyf; llosgwyd eu teml; gwnaed eu dinas yn garneddau, a chaethgludwyd yr hyn oedd weddill o honynt fel cenedl yn gaethion i eithafoedd y ddaear. Ar ol y galanasdra hwnw, cynnyddasant yn

gyflym, eithr cynnyddu a wnaethant fel lloi pasgedig—i gael eu lladd; oblegid yn ystod yr ail ganrif fe draddodwyd pum' cant a phedwar ugain o filoedd o honynt i farwolaeth, a gwnaed tir Judah yn ddiffaethwch anghyfanneddol. Yn y drydedd ganrif gwaherddid iddynt fyned i Jerusalem o dan berygl marwolaeth. Yn y bedwaredd ganrif, alltudiwyd hwynt o Rufain, a chyn cychwyn o honynt allan o'r ddinas, torwyd eu clustiau i fod yn nôd diraddiol arnynt i ba le bynag yr elent. Yn y bummed ganrif, bwriwyd hwynt allan o'r Aipht, ac ar ol iddynt ffoi i Persia, blinderau alaethus oedd yn aros am danynt yno. Ac nid oes dafod all draethu na chrebwyll ddychymygu y triniaethau a gawsant yn nghanrifau tywyllion y canol-oesau. Y mae pennodau Proffeswr Hosmer yn ei lyfr ar yr Iuddewon, dan y penawd a eilw yn *Mediæval Humiliation*, yn darllen fel pe buasent wedi cael eu hysgrifenu â gwaed. A Satan fel wedi cael cenad gan Dduw i'w cernodio, yn dyfeisio pob ystrywiau dynol a dieflig i'w diraddio a'u poenydio. Yr oedd Pabau ac eglwysi, breninoedd a phobl, Cristionogion a Mahometaniaid, yn ymryson mewn cynddaredd elynol tuag atynt. Lladdwyd miloedd o honynt yn Itali, Hyspaen, Germani, Ffrainc, a Lloegr. Gorfodid hwynt trwy gyfraith i wisgo het felen ar y pen, gwregys o groen ynghylch eu lwynau, ac mewn rhai gwledydd fath o gloffrwym i lusgo y tu ol iddynt, neu rywbeth neu gilydd i gystuddio eu cyrff, a'u nodi allan fel gwrthddrychau melldith a rhêg pwy bynag a'u cyfarfyddai. Saith waith y llithiwyd hwynt i Ffrainc gan yr Ymherawdwr, a phob tro i'w hyspeilio a'u halltudio. Hyd yn ddiweddar yr oedd tollbyrth ar y pontydd yn Germani gogyfer âg anifeiliaid ac Iuddewon, a thybir i dros 17,000 gael eu lladd yno yn y canol-oesau. Ceir hanes am danynt yn cael eu tori ar yr olwyn yn mhrifddinas Switzerland yn y drydedd ganrif ar ddeg. Ac nid yw teyrnas Lloegr yn rhydd oddiwrth waed yr Iuddewon. Crogwyd cannoedd o honynt gyda'u gilydd yn ninas Caerefrog, bum' can' mlynedd yn ol, ac yn

Llundain yn ddiweddarach na hyny. Peth cyffredin oedd eu dirwyo dan ryw esgus i symiau mawrion er mwyn cael eu harian. Yn 1290 gorfodwyd hwynt yn Lloegr i gofleidio Pabyddiaeth, neu adael y wlad. Cawn hanes am dros bymtheg cant ar unwaith yn ffoi o'r wlad, llawer yn boddi wrth groesi y culfor, ac am y lleill dywedir i gadben un long ar ol eu baeddu a'u hyspeilio, eu bwrw, yn fasnachwyr a chrefftwyr, ar draeth Ffrainc i farw, a chan watwar yn dywedyd wrthynt, Deued ail Foses i'ch gwaredu, os pobl i Dduw ydych. Mwy annyoddefol i'w balchder na chael eu lladd oedd y diraddiad a'r dirdyniadau a ddyoddefent. Yr oedd hyny yn gymaint ar adegau, fel y ceir eu hanes yn bwrw eu hunain i'r afonydd, ac yn cloi drysau eu tai ac yn lladd eu gilydd yn hytrach na syrthio i ddwylaw creulawn eu herlidwyr. Yn Hyspaen, gwlad y creulonderau, ni all tafod y mwyaf hyawdl ddesgrifio eu dyoddefiadau. Meddyliwch er engraifft am filiwn o Iuddewon yn cael eu gorfodi trwy drais i wadu eu crefydd, a chwe' chan' mil yn cael eu halltudio o'r wlad, sef Hyspaen, ar unwaith; hwy a'u gwragedd a'u plant yn cael eu gorfodi i fyrddio llongau a hwylio allan i chwilio am noddfa mewn gwlad arall. Newynodd llawer o honynt i farwolaeth, taflwyd y gweiniaid dros y bwrdd i'r môr, gwerthwyd eraill yn gaethion, a llofruddiwyd rhai er mwyn y dillad oedd am danynt. Dyma iaith un o honynt a laniodd ar draethau Affrica, "Yr oeddym yn newynu ar y traeth i farwolaeth; yn gyntaf bu farw fy ngwraig wrth fy ochr, ac yna fy nau fab yr ochr arall. Cuddiais eu cyrff dan y tywod, ac ysgrifenais, 'Fy Nuw, temtir fi gan fy nhrueni i dori dy orchymyn; eithr Iuddew ydwyf—gwna â mi fel y gwelot yn dda. Byddaf ffyddlawn hyd angeu i ti.' "

Hawdd fyddai lliosogi engreifftiau. Ai tybed nad digon hyn i doddi y galon galetaf mewn afonydd o dosturi a chydymdeimlad â'r Iuddewon? Pa galon mor galed na thôdd! Gwelaf eich bod yn gyffrous gan deimladau tosturiol tuag atynt, ac mewn cydymdeimlad llawn â'u prophwyd

mawr Jeremïah, pan y dywedodd, "O na b'ai fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynnon o ddagrau, fel yr wylwn ddydd a nos am laddedigion merch fy mhobl!" Ond beth arall, fy ngwrandäwyr? Teimlo heb weithredu, pa werth ydyw i chwi na neb arall? ïe, y mae yn rhwym o'ch gadael chwi yn waeth, fel yr ewch yn y man yn analluog i wneuthur cymaint a thosturio wrthynt, heb son dim am geisio eu gwaredu. Nid ydych wedi anghofio atebiad ein Harglwydd i'r gofyniad, "A phwy yw fy nghymydog?' Y mae ein hymddygiad yn yr olwg ar drueni cyd-ddyn yn ddangoseg anffaeledig o'n cymeriad moesol. "Rhyw ddyn oedd yn myned i waered o Jerusalem i Jericho; ac a syrthiodd ymysg lladron, y rhai wedi ei ddiosg ef, a'i archolli, a aethant ymaith, gan ei adael yn hanner marw. Daeth rhyw offeiriad heibio a rhyw Lefiad ar ei ol, a gwyddoch hanes eu hymddygiad tuag at y truenus ar ochr y ffordd. Ai felly y gwnewch chwi âg achos yr Iuddewon? "Eithr rhyw Samariad"—parch i'w goffadwriaeth—a dosturiodd—yr ydych chwithau yn gwneyd hyny—"ac a aeth ac a rwymodd ei archollion, gan dywallt ynddynt olew a gwin; ac a'i gosododd ef ar ei anifail ei hun, ac a'i dyg ef i'r llettŷ, ac a'i hamgeleddodd. A thrannoeth,"—y mae'n anhawdd peidio darllen hanes ymddygiad fel hyn i'r diwedd, eithr nid oes achos. Gwyddoch y cwbl am dano, ac yr ydych er ys meityn yn tynu oddiwrtho y cymhwysiad priodol i'r amgylchiad presennol. Gŵr wedi ei ddiosg a'i archolli, a'i adael yn hanner marw, ydyw yr Iuddew. Pwy o honoch wnaiff rwymo ei archollion, gan dywallt ynddynt olew a gwin efengyl gras? Os na fedrwch ymliw â'r Iuddewon yn bersonol, neu gyfranu llawer tuag at anfon eraill i gynnyg iddynt amgeledd yr efengyl yn rhad, meithrinwch deimlad angerddol o ewyllys da tuag atynt; cofiwch am danynt yn eich gweddïau, a'ch iaith ddiffuant fyddo, "O frodyr, gwir ewyllys fy nghalon a'm gweddi ar Dduw dros yr Israel sydd er iachawdwriaeth."

## V.

Gellir nodi hefyd, yn y *pummed* lle, *fod y fantais a fyddai troedigaeth yr Iuddewon tuag at ddwyn o amgylch efengyleiddiad ac iachawdwriaeth y byd yn gyffredinol*, yn gymhelliad cyfreithlawn a grymus dros ddymuno ar eu bod yn gadwedig. Arferai Paul ei hun y ddadl hon gyda'r Rhufeiniaid yn yr unfed bennod ar ddeg o'r epistol hwn. "Gan hyny, meddaf, a dramgwyddasent hwy fel y cwympent? Na ato Duw: eithr trwy eu cwymp y daeth iachawdwriaeth i'r Cenedloedd, i yru eiddigedd arnynt. O herwydd paham os ydyw eu cwymp hwy yn olud i'r byd, a'u lleihad hwy yn olud i'r Cenedloedd: pa faint mwy y bydd eu cyflawnder hwy? . . . . Canys os yw eu gwrthodiad hwy yn gymmod i'r byd, beth fydd eu derbyniad hwy ond bywyd o feirw?" Mae parhad bodolaeth a hanes y genedl ryfedd hon fel y mae, yn dystiolaeth werthfawr i wirionedd hanesyddol y Bibl, a'i grefydd. Pan ofynodd Brenin unwaith i'w gaplan nodi prawf mewn cwpl o eiriau dros Ddwyfoldeb crefydd Dadguddiad, yr ateb ydoedd, "*Yr Iuddewon.*" Ac yr oedd yn anhawdd rhoddi atebiad rhagorach. Mae y gwydnwch a'r sefydlogrwydd sydd yn eu cymeriad cenedlaethol yn rhoddi cymhwysder neillduol ynddynt i beri fod gwerth yn eu traddodiadau, ac awdurdod uchel yn y dystiolaeth a gludir yn eu hanes drwy y canrifau. Y mae eu gwaith yn cadw Sabboth er ys yn agos i dair mil a hanner o flynyddoedd, a'u crediniaeth ddiysgog yn Ysgrythyrau yr Hen Destament; mae y ffaith iddynt derfynu offrymu ebyrth gwaedlyd oddeutu adeg croeshoeliad Crist yr Aberth Mawr, ynghyd a dinystr eu Dinas, a'u gwasgariad hwythau yn ol rhagfynegiadau yr Arglwydd Iesu, yn ffurfio prawf o werth nid bychan i wirionedd crefydd y Bibl, "Canys iachawdwriaeth sydd o'r Iuddewon." Fel y gwelsom, yn mhlith yr Iuddewon

ac o honynt hwy fel y cyfryngau yr ymddangosodd Cristionogaeth gyntaf. Wrth gymharu y Gristionogaeth hono gyda'r bobl hyn, nis gellir peidio canfod, fod i "grefydd mor sanctaidd godi yn mhlith rhai mor lygredig—crefydd mor ysbrydol o blith rhai mor ffurfiol—crefydd mor annaearol ei chymhelliadau yn mhlith rhai mor anianol eu dysgwyliadau—crefydd mor gyffredinol eu breintiau wedi codi yn mhlith rhai mor genedlaethol yn eu hawliau," fel yr ymresyma un o bregethwyr goreu Cymru mewn pregeth o'i eiddo, yn profi eu dwyfoldeb. Pa gyfrif rhesymol arall sydd am y fath ffaith?

Yr un pryd, rhaid addef fod gwaith yr Iuddewon yn gwrthod derbyn Cristionogaeth—yr Iuddewon a barotoasid am oesoedd i'w derbyn; y bobl hyn sydd yn credu yn Moses a'r Prophwydi, ac wedi cael y fantais oreu i adnabod yr hwn y dywedir mai efe yw y Messïah—yn graig rhwystr ar ffordd ei llwyddiant yn mhlith y Cenedloedd. Ond beth pan ddychwelo y bobl hyn? "Beth fydd eu derbyniad hwy ond bywyd o feirw?" Fe fydd fel adgyfodiad oddiwrth y meirw,—yn ddisymwth a chyffredinol. Y fath ydyw dyfnder a gafael teimlad cenedlaethol y bobl hyn, fel y mae sail i ddysgwyl eu troedigaeth hefo eu gilydd pan ddechreuo hyny gymeryd lle. Cenedl a enir mewn un dydd. Fe barai hyny gyffro trwy yr holl fyd, a dueddai i ddwyn eraill, wrth weled hyn, i ofni ac i ddychwelyd at yr Arglwydd. Bernir fod oddeutu saith miliwn o Iuddewon ar y ddaear heddyw, a'r rhai hyny yn wasgaredig yn mhob parth o honi. Ac y mae pawb yn eu hadnabod drwy yr holl fyd. Y maent yn bobl gyffröus neillduol, ac yn fwy chwannog na ni, y Cymry, yn ein hamser goreu, o arddangos eu teimladau. Byddai y chwyldroad meddyliol a gynnwysid yn ngwaith y bobl hyn yn derbyn Iesu o Nazareth fel y gwir Fessïah yn sicr o osod troell eu naturiaeth yn fflam. Meddyliwch am saith miliwn o bobl hynod, cyffröus, a thrystfawr fel hyn yn dychwelyd bron yr un diwrnod—

fel adgyfodiad, fel bywyd o feirw—a beth am yr effaith ar genedloedd eraill? Ymledai swn ymagoriad eu beddau fel daeargryn drwy holl wledydd y ddaear. Brysied udgorn yr adgyfodiad bendigedig hwn i seinio drwy yr entrych!

Y fath dystiolaeth amlwg a fyddai eu troedigaeth i wirionedd rhagfynegiadau y Beibl, ac i allu gweinidogaeth ac iachawdwriaeth yr efengyl. Mor ddefnyddiol a fyddent ar ol troi fel cyfryngau i droi eraill. Cynnysgaethwyd hwy fel cenedl âg athrylith uchelryw. Os y Saeson yw gewynau y byd, yr Iuddewon yw ei enaid; ac y mae mewn miloedd o honynt ddefnydd cenadon hafal i'r Iuddew bach o Tarsus. Cyfranai eu sefyllfa wasgaredig tuag at eu defnyddioldeb yn hyn. Nid oes iaith nac ymadrodd nad oes rhai o'r Iuddewon yn ei medru—hinsawdd na gwlad nad oes rhai o honynt hwy wedi ymgynnefino â hi ac yno eisoes—fel na fyddai raid treulio amser nac arian arnynt i ddysgu ieithoedd tramor yn ein colegau, ac ni fyddai teithiau costus ac hinsoddau afiach ynglŷn â hwy fel cenadon yn blino yr eglwys Gristionogol mwyach. Ië, beth fyddai eu derbyniad, ond "bywyd o feirw?" Chwychwi sydd yn ceisio llesâd llaweroedd, yn cyfranu tuag at ac yn gweddïo am iachawdwriaeth yr holl genedloedd, agorwch eich llygaid ar y berthynas sydd rhwng troedigaeth yr Iuddewon a'r amcan goruchel hwnw; ac ar y cyfrif catholicaidd hwn, ymgodwch i ysbryd Apostol y Cenedloedd, pan yr ysgrifenodd, "O frodyr, gwir ewyllys fy nghalon a'm gweddi ar Dduw dros yr Israel sydd er iachawdwriaeth."

Pa bryd y cymer eu troedigaeth le? Nid oes le i ammheuaeth na ddaw dymuniadau trist, hiraethlon Paul i ben rywbryd. Y mae cadwraeth y genedl ar y ddaear yn wyrth ymddangosiadol, ac yn awgrymu fod gan Dduw fwriad i gyflawni iddynt ei holl addewidion. Darfu eu herlidigaethau bron yn llwyr, ac y mae breintiau dinasyddion yn dychwelyd yn brysur i'w dwylaw. Cymer yr Eglwys Gristionogol ddyddordeb yn eu hachos, a sefydlwyd

saith neu wyth o gymdeithasau yn ystod yr hanner canrif diweddaf o bwrpas i geisio eu dychwelyd. Mae mwy o Iuddewon wedi troi yn y chwarter canrif diweddaf nag yn ystod y 17 canrif blaenorol. Dywedir fod cant a deg ar hugain o Iuddewon dychweledig yn awr yn weinidogion yn yr Eglwys Sefydledig, ac amrai yn mhlith yr Ymneillduwyr. Darllenwn am ddychweliadau cannoedd o honynt, y blynyddoedd diweddaf hyn, ar y Cyfandir, a rhai yn ddychweliadau pwysig iawn. Bernir fod llawer iawn o ddysgyblion cuddiedig, fel Nicodemus a Joseph gynt, yn eu plith, yn dysgwyl am adeg lai profedig i arddel Iesu o Nazareth. "Ond dysgwch ddammeg oddiwrth y ffigysbren; Pan yw ei gangen eisoes yn dyner, a'i ddail yn tori allan, chwi a wyddoch fod yr haf yn agos." "Bu llaw yr Arglwydd arnaf, ac a'm dyg allan yn Ysbryd yr Arglwydd, ac a'm gosododd yn nghanol dyffryn, a hwnw oedd yn llawn esgyrn. Ac efe a wnaeth i mi fyned heibio iddynt o amgylch ogylch: ac wele hwynt yn aml iawn ar wyneb y dyffryn; wele hefyd sychion iawn oeddynt. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ha fab dyn, a fydd byw yr esgyrn hyn? A mi a ddywedais, O Arglwydd Dduw, ti a'i gwyddost. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Prophwyda am yr esgyrn hyn, a dywed wrthynt, O esgyrn sychion, clywch air yr Arglwydd. Fel hyn y dywed yr Arglwydd Duw wrth yr esgyrn hyn; Wele fi yn dwyn anadl i'ch mewn, fel y byddoch byw. Gïau hefyd a roddaf arnoch, a pharaf i gig gyfodi arnoch; gwisgaf chwi hefyd â chroen, a rhoddaf anadl ynoch; fel y byddoch byw, ac y gwypoch mai myfi yw yr Arglwydd. Yna y prophwydais fel y'm gorchymynasid; ac fel yr oeddwn yn prophwydo, bu swn, ac wele gynhwrf, a'r esgyrn a ddaethant ynghyd, asgwrn at ei asgwrn. A phan edrychais, wele cyfodasai gïau a chig arnynt, a gwisgasa croen am danynt; ond nid oedd anadl ynddynt. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Prophwyda tua'r gwynt, prophwyda, fab dyn, dywed wrth y gwynt, Fel hyn y dywed yr Ar-

glwydd Dduw; O anadl, tyred oddiwrth y pedwar gwynt, ac anadla ar y lladdedigion hyn, fel y byddont byw. Felly y prophwydais fel y'm gorchymynasid; a'r anadl a ddaeth ynddynt, a buant fyw, a safasant ar eu traed yn llu mawr iawn. Yna y dywedodd wrthyf, Ha fab dyn, yr esgyrn hyn ydynt dŷ Israel oll." Mae cynhwrf eisoes yn y dyffryn, prophwydwn tua'r gwynt, a dywedwn, "O anadl, tyred oddiwrth y pedwar gwynt, ac anadla ar y lladdedigion hyn, fel y byddont byw."

Pan ymchwel Israel at yr Arglwydd, anwyl wrandäwyr, pa le y byddwch chwi? Ai gydag Abraham, Isaac, a Jacob yn nheyrnas nefoedd, ai ynte wedi eich bwrw gyda rhai o blant y deyrnas i'r tywyllwch eithaf? "O frodyr, gwir ewyllys fy nghalon a'm gweddi ar Dduw drosoch chwithau hefyd sydd er iachawdwriaeth." Amen.

---

## CHARLES HADDON SPURGEON.

### I.—BRASLUN O'I HANES.

TRA y mae enw y dyn rhyfeddol hwn mewn sylw neillduol ger bron y wlad ynglŷn â "Dadl y Goriwaered," dichon nad anamserol fyddai rhoddi i'r darllenydd uniaith fraslun o hono, ynghyd a byr olygiad ar hanes ei fywyd a'i lafur. Ganed ef mewn lle bychan yn swydd Essex o'r enw Kelvedon, Mehefin 17, 1834. Gweinidog gyda'r Annibynwyr yw ei dad; a dyn da a defnyddiol yn ei gylch dinod, er nad yw yn debyg y clywsid son am ei enw o'r tu allan i'r cylch hwnw oni b'ai am enwogrwydd nodedig ei fab. Ni chafodd lawer o addysg, ond yr oedd hyny a gafodd yn bur drwyadl. Bu am gyfnod mewn ysgol yn Colches-

ter, ac ar ol hyny yn fath o îs-athraw mewn ysgol uwch yn Newmarket. Yr oedd hynodrwydd yn perthyn iddo er yn blentyn; ac anturiodd y cenadwr enwog, Richard Knill, ragfynegu ei fawredd dyfodol pan nad oedd uwchlaw deg oed. Cafodd ei ddychwelyd dan weinidogaeth gyfeiriadol gweinidog y Primitive Methodists, o'r enw Robert Eaglen, tua'r flwyddyn 1850. Pan yn pregethu yn y capel hwnw yn 1864, cyfeiriodd Spurgeon gydag effaith annarluniadwy at yr eisteddle lle y dychwelwyd ef. Dechreuodd bregethu yn fachgenyn un ar bymtheg oed, mewn tŷ annedd mewn lle o'r enw Taversham; ac ymhen deuddeng mis ar ol hyny sefydlwyd ef yn fugail ar eglwys yn Waterbeach. Seiniodd y son am dano ledled y wlad, a chyrhaeddodd i glustiau eglwys y Bedyddwyr yn New Park Street, Llundain. Annibynwr, fel y nodais, oedd ei dad, ond ar gyfrif ei olygiad ar fedydd yr oedd ef wedi ymaelodi gyda'r Bedyddwyr. Ar alwad yr eglwys a grybwyllwyd, daeth i Lundain yn 1853; ac er nad oedd ond llefnyn ieuanc iawn yr olwg arno, cymerodd ei le, yn nechreu y flwyddyn ganlynol, fel olynydd yr enwog Dr. Rippon—anturiaeth ofnadwy o feiddgar. Nid ydoedd eto yn ugain oed, ac heb fod mewn Prifysgol nac Athrofa Dduwinyddol; ond yr oedd yn ŵr Duw, ac o dan arddeliad ac amddiffyniad amlwg yr Hwn a'i galwodd. Aeth y capel yn rhy fychan. Yn ystod amser yr helaethiad, aed i addoli ar y cyntaf i ystafell fawr Exeter Hall; eithr gan fod hono yn rhy gyfyng i'r gynnulleidfa, symudwyd i Surrey Music Hall. Yn 1856 cafwyd damwain ddychrynllyd yn y fan hono. Gwaeddodd rhywun "Tân!" Brawychodd y dorf, a rifai oddeutu saith mil, ac, wedi colli pob hunan-lywodraeth, rhuthrasant ar draws eu gilydd am y drysau: anafwyd wyth ar hugain, a sathrwyd saith i farwolaeth. Effeithiodd y brofedigaeth yn ddirfawr ar ei feddwl, a bu am rai wythnosau yn analluog i bregethu.

Yn 1861 agorwyd y Tabernacl, yr hwn yw y capel Ymneillduol mwyaf yn yr holl fyd. Costiodd yn agos i ddeuddeng mil ar hugain. Cyfranodd un dyn o Bristol £5000 tuag ato, a thalwyd yr holl ddyled yn ddioed ar ol dechreu addoli ynddo. Cynnwysa le i chwe' mil o bobl yn gysurus; o dano y mae ysgoldŷ a ddeil fil arall; Lecture Hall wrth ei dalcen, naw cant; ac at y cwbl y mae ynglŷn âg ef dros ddwsin o ystafelloedd llai i wahanol ddybenion. Yn chwanegol at ei holl ofal am yr eglwys, sydd yn rhifo llawer o filoedd, cododd Gartref i Blant Amddifaid a gostiodd £10,000, ac y mae y draul o'i gynnal oddeutu £100 yn yr wythnos. Elusendŷ hefyd, oedd wedi ei gychwyn gan ei ragflaenydd, a fawr helaethwyd ganddo ar draul fawr; ac yn olaf a phenaf hefyd, Coleg i barotoi dynion ieuainc i waith y Weinidog-

aeth. Y mae yr olaf wedi costio £15,000, a'r draul o'i gynnal yn £120 yn yr wythnos. Sefydlodd hefyd Gymdeithas i ledaenu llyfrau, yn ngwasanaeth yr hon y mae triugain o ddosbarthwyr yn llafurio mewn saith ar hugain o siroedd. Gofala ei wraig am drysorfa tuag at gynnorthwyo gweinidogion tlodion i gael llyfrau duwinyddol. Os gofynir o ba le y ca Mr. Spurgeon yr arian, filoedd ar filoedd, at yr holl sefydliadau hyn, yr ateb ydyw, gan mwyaf mewn atebiad i weddi.

Gyda bron iddo ymsefydlu yn Llundain dechreuodd gyhoeddi ei bregethau am geiniog y rhifyn, ac y maent wedi dyfod allan yn rheolaidd byth oddiar hyny. Y diwrnod o'r blaen ymddangosodd y ddwy filfed pregeth o'i eiddo. Rhoddir lledaeniad eang iddynt yn yr iaith Saesoneg, a chyfieithir hwynt i hanner dwsin o ieithoedd y Cyfandir. Cyhoeddodd lïaws o lyfrau gwerthfawr eraill. *John Ploughman* ydyw y mwyaf poblogaidd, a'r *Treasury of David*, sef math o esboniad ar y Salmau, y mwyaf pwysig.

Yn nghanol ei ofalon a'i lafur enfawr, mae Mr. Spurgeon yn ddyoddefydd mawr, ac yn gorfod treulio misoedd o bob blwyddyn mewn ymneillduaeth yn awyr gynhes deheudir Ffrainc; ac eto nid yw y gwaith yn lleihau na'i gynnulleidfa yn teneuo. Spurgeon, yn ddiau, ydyw un o ddynion rhyfeddaf y ganrif; ac y mae yn debyg na fu erioed bregethwr sydd, o'r pulpud a thrwy y wasg, yn cyfarch cynifer o bobl.

Pa fath ddyn ydyw? Beth yw ei ddull o bregethu? Ymha le y mae cuddiad ei gryfder? Ymofynion naturiol, hawddach i'w rhoddi na'u hateb. Gofod a ballai i gynnyg eu hateb yn y rhifyn hwn. Os ceir arbediad, amcenir gwneuthur hyny yn y rhifyn nesaf.

J. E.

# XLVIII.

## NODWEDDAU APOSTOLAIDD HEN BREGETHWYR CYMRU.

"*Oblegid ni bu ein hefengyl ni tuag atoch mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr; megys y gwyddoch chwi pa fath rai a fuom ni yn eich plith, er eich mwyn chwi.*"—1 THESSALONIAID I. 5.

CYFLAWNWYD gwaith mawr ar y ddaear yn yr oes apostolaidd, a hyny mewn amser cymharol fyr. Fel y rhagfynegwyd gan yr Arglwydd Iesu, bu yr Apostolion a'u cydweithwyr yn dystion iddo yn Jerusalem, ac yn holl Judea, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaear. Yn y synagogau Iuddewig pregethwyd yr efengyl, a gorchfygwyd yr Iuddewon yn egnïol ar gyhoedd, gan ddangos trwy ysgrythyrau mai Iesu yw Crist. Er na ennillwyd llawer o'r Iuddewon at Gristionogaeth, trechwyd y Rabbiniaid mewn dadl, a dymchwelwyd gallu Iuddewiaeth yn nhir Judah dros byth. Efengylwyd y newyddion da yn Samaria hefyd, a llawer a gredasant ac a droisant at yr Arglwydd. Oddiyno aed â'r genadwri fawr hyd eithaf y ddaear: lefeiniwyd pob talaeth yn yr ymherodraeth Rufeinig gan y sect hon; a'r byd a aflonyddwyd ganddynt, neu, yn ol y Cyfieithiad Diwygiedig, a dröwyd â'i wyneb yn isaf.

Y moddion mawr trwy yr hwn yr effeithiwyd y mawrwaith hwn oedd pregethu. Dan bregeth Simon Pedr y cychwynwyd y gwaith ddydd y Pentecost. Gwasanaethodd swn y gwynt nerthol a ruthrodd i alw ynghyd gynnulleidfa; yr oedd y tafodau gwahanedig megys o dân yn

deffroi eu sylw, ac yn dynodi iddynt awdurdod yr apostolion; yr oedd y cyfnod o ddysgwyliad gweddigar, unol, a dyfalbarhaus a dreuliodd yr eglwys cyn tywalltiad yr Ysbryd, ac yn enwedig y nerth a gawsant wedi y daeth yr Ysbryd Glân arnynt, yn barotoad bendigedig gogyfer â'r gwaith; eithr nid oedd neb o'r tu allan yn arwyddo dwysbigiad cydwybod na gogwyddiad edifeiriol hyd nes yr aeth Pedr i bregethu. Cyflawnwyd gwaith mawr gan Phylip yn Samaria, ac yr oedd llawenydd mawr yn y ddinas hono; ond prif foddion ei effeithiad oedd pregethu Crist iddynt.

Ac fel mewn lliaws o fanau eraill, ceir hanes am y diwygiad crefyddol a gynnyrchwyd gan Paul yn Thessalonica. Cyfeiriwch i Actau yr Apostolion, xvii. 1—4, a chewch hanes ei lafur yno dros dri Sabboth; ac fel canlyniad hyny adroddir: "Rhai o honynt a gredasant, ac a ymwasgasant â Phaul a Silas; ac o'r Groegwyr crefyddol lliaws mawr, ac o'r gwragedd penaf nid ychydig." Eithr y moddion a fendithiwyd i gyrhaedd yr amcan hwn oedd ymresymu o'r Ysgrythyrau, gan egluro a dodi ger bron mai Iesu yw y Crist, neu, mewn un gair, pregethu. At hyn yn ddiau y cyfeiria yn ei epistol cyntaf atynt, yn adnod y testun. "Oblegid"—cydia y gair hwn yr adnod wrth yr ymadrodd "eich etholedigaeth chwi," yn yr adnod flaenorol. Fel cyweirnod i'r bennod hon, dywed yr apostol yn yr ail adnod: "Yr ydym yn diolch i Dduw yn wastadol drosoch chwi oll." Yna noda ei resymau dros hyny. Cofiai yn ddibaid am waith eu ffydd, llafur eu cariad, ac ymaros eu gobaith. Y fath drindod prydferth o rasusau, mewn geiriau o'r fath fwyaf detholedig, a geir yma! "Gan wybod, frodyr anwyl gan Dduw," yn ol y Cyfieithiad Diwygiedig, "eich etholedigaeth chwi." Yr oeddynt yn anwyl gan Paul, fel y gwelir oddiwrth dôn yr holl lythyr; mwy na hyny, yr oeddynt yn anwyl gan Dduw—yn bobl dduwiol, uchel yn ei gymeradwyaeth. "Gan wybod . . . etholedigaeth chwi." Mae Duw yn neillduo

y duwiol iddo ei hun. Ond beth oedd prawf Paul o hyn oll? Y prawf mawr oedd llwyddiant yr efengyl yn eu plith. Derbyniasant yr efengyl mewn gwirionedd—mewn sicrwydd mawr; derbyniasant hi mewn amser o orthrymder mawr, yr hyn a brofai eu diffuantrwydd; a gwnaethant hyny gyda llawenydd yr Ysbryd Glân, yr hyn a ddangosai gyflwyredd eu tröedigaeth trwyddi. "Ië," fel pe dywedasai, "dyma hanes ein hymweliad â chwi yn Thessalonica, pan blanwyd yr eglwys yn eich plith. Gwnaethoch eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr ar y cynnyg cyntaf."

Prawf arall o'u hetholedigaeth, ac yn wir y cyntaf a nodir ganddo, fel y sylwa Ellicott, ydoedd ei fod ef a'i gyfeillion wedi eu galluogi i bregethu iddynt gyda'r fath rymusder. "Oblegid ni bu ein hefengyl ni," y genadwri a ymddiriedwyd i ni, "tuag atoch," nid arnoch ac ynoch yn unig, ond tuag atoch, oddiwrthym ni yn y pregethiad o honi, "mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth;" nid doniau gwyrthiol, cydfynedol â'r pregethu, a olygir yma, dybygid, eithr y grymusder oedd yn nodweddu y pregethu ei hun; "ac yn yr Ysbryd Glân," yr eneiniad Dwyfol oedd arno; "ac mewn sicrwydd mawr," desgrifiad o agwedd meddwl y pregethwyr sydd yma, fel y dengys y brawddegau cyd-destynol ol a blaen; megys y gwyddoch chwi pa fath rai a fuom ni yn eich plith chwi." Mor brydferth yr ysgrifena! Fel pe dywedasai: Yr wyf fi yn gwybod pa fath rai ydych chwi o ran eich cymeriad crefyddol, ac yn llawen genyf ddwyn tystiolaeth ffafriol iddo. Yn awr, yr wyf yn apelio at eich gwybodaeth chwithau o honom ninnau yn ein cymeriad gweinidogaethol am dystiolaeth pa fath rai a fuom yn eich plith; ein bod, nid yn unig wedi byw yr efengyl, yn gystal a'i phregethu, eithr pa fath rai a fuom yn y nerth a'r arddeliad oedd yn dynodi y pregethu ei hun yn ein dwylaw. "Er eich mwyn chwi;" yn ben ar y cwbl, fel un o elfenau penaf eu nerth a'u llwyddiant, cyfeiria at y cymhellydd a'u hys-

gogai yn yr holl lafur hwn. "Eloquence is a virtue," ebai rhyw un. Pan fyddo llefaru yn amcan llefaru, nis gellir bod yn wir hyawdl; eithr pan leferir fel moddion i gyrhaedd amcan arall, ymgodir i lefel areithyddiaeth wir.

Dyry y testyn gipolwg i ni nid yn unig ar ddull yr Apostolion yn pregethu yn Thessalonica, eithr hefyd ar nodweddau pregethu apostolaidd yn gyffredinol. Fel hyn y pregethai Paul a'i frodyr yn gyffredin; dyma deithi gweinidogaeth berffaith y cynllun o bregethwyr a gafwyd yn yr Apostolion, ac y mae graddau o'r un peth yn nôd anghen pob gwir bregethwr hyd y dydd hwn.

Yn ystod yr wythnosau a aethant heibio* yr ydwyf wedi son llawer am ddynion sanctaidd ac enwog, a greasant gyfnod newydd yn hanes crefyddol ein cenedl: hoffwn yn awr alw sylw y bobl ieuanc yn neillduol at

## NODWEDDAU APOSTOLAIDD HEN BREGETHWYR CYMRU.

Cawsom air Duw yn ein hiaith er ys tri chan' mlynedd, ac y mae y wasg, mewn llawer dull heblaw hyny, wedi cyfroddi llawer yn ddiweddar tuag at ein dyrchafiad; gwnaed ymdrechion er ys oesoedd yn ol gydag addysg grefyddol, ac nis gellir mesur y daioni a ddeilliodd o hyny; ond wedi y cwbl pregethu yr Efengyl yw prif sefydliad crefyddol y genedl. Trwy bregethu y gwnaed y gwaith goreu os nad y gwaith helaethaf yn yr oesau a fu, a phregethu ydyw ffon bara ysbrydol y Cymry heddyw. Codwyd torf fawr o bregethwyr, lawer o honynt yn bregethwyr da iawn, yn ein gwlad o bryd i bryd. Yn ol y boblogaeth a byrdra yr amser, ni chododd yn Groeg a Rhufain fwy o areithwyr nag a gafodd Cymru o bregethwyr er dechreu y ganrif hon. Ymddangosodd uchelwyr

* Cyfeiriad at y gyfres o ddarlithiau rhad a draddodwyd yn Horeb, ar nos Lun, am wythnosau yn olynol.

areithyddol cyn hyny yn ein gwlad, ond nid oeddynt mor llïosog nac, fe allai, mor rymus yn yr ystyr uwchaf a'r cenedlaethau o bregethwyr mawr yn olynol a gyfodasant yn hanner cyntaf y ganrif hon. Yn y cyfnod hwnw rhoddwyd cymeriad i'r pulpud Cymreig sydd yn tynu sylw cynnyddol holl wledydd crêd. Ond beth am eu prif nodweddau? Credwyf eu bod ar amrai gyfrifon yn dwyn delw gweinidogaeth yr Apostolion. Noder yn

## I.

Y CYMHWYSDERAU NATURIOL A FEDDENT.

Diau fod hyn yn un o nodweddion pregethwyr y cyfnod Apostolaidd. Yr oeddynt, o ran eu cymhwysderau naturiol, yn llestri etholedig at y gwaith: ac yr oedd yr efengyl o'u genau mewn gair—yn allu areithyddol—er nad mewn gair yn unig. Nid oedd pob un o'r Apostolion yn allu fel pregethwyr, os yn pregethu llawer o gwbl. Rhyw ddau o honynt, sef Petr a Phaul, sydd yn amlwg fel pregethwyr. Diau fod Ioan yn feddyliwr dwfn a chynnyrchiol, yn ŵr duwiol iawn, ac wedi dyoddef llawer er mwyn yr efengyl. Mae ei Efengyl a'i Epistolau a llyfr y Dadguddiad yn drysorau oesol i'r eglwys; eithr ychydig o son sydd am dano fel pregethwr. Dichon nad oedd ganddo lawer o ddawn naturiol at y gwaith hwnw. Ond am Simon Petr, mae'n amlwg ei fod ef yn llefarwr. Meddai ddawn barod a gafaelgar, gallu desgrifiadol byw, teimlad cynhes a dwfn, a difrifwch oedd ar adegau yn anwrthwynebol. Bendithiwyd ef hefyd â llais treiddiol a grymus, i'w gymhwyso i godi ei leferydd ar ddydd y Pentecost nes cyrhaedd tyrfa o filoedd, ac â chorff cryf a gewynog i ymgynnal dan gynhyrfiadau angerddol oedfaon o'r fath. Paul yntau hefyd oedd bregethwr o'r groth. Er nad yn rymus o berson, nac, fel y tybiai rhai, yn odidog ei ymadrodd, y mae'n amlwg ei fod yn allu cyhoeddus enfawr.

Darllener ei ddiffyniadau iddo ei hun yn llyfr yr Actau, a'r effaith a ddylynai ar y dorf ac ar yr awdurdodau; neu myfyrier ei bregethau fel cyfansoddiadau, a chraffer ar effaith y traddodiad o honynt ar achlysuron pwysig; a hawdd fydd gweled y meddai ddawn llefaru o rywogaeth uchel iawn. Ac y mae yn anhawdd myfyrio ei epistolau, heb ganfod delw groew yr areithiwr ar eu cyfansoddiad. Y mae adroddiad medrus yn yr Ysgol Sul o'r wythfed bennod o'r llythyr at y Rhufeiniaid, yn codi y gwyddfodolion i hwyl cymanfa; neu ddarlleniad teilwng o'r bennod gladdu, fel ei gelwir, yn troi glyn cysgod angeu fel hanner dydd.

Perthynai y nodwedd apostolaidd hon i hen bregethwyr Cymru. Isel eu hâch oedd amrai o honynt, a phrin eu haddysg, ond perchenogent gymhwysderau naturiol ardderchog at y gwaith o bregethu.

Yr oedd llawer o honynt yn wŷr cedyrn, nerthol *o gorff.* Dyn byr ond nodedig o grwn a chydnerth oedd Rowlands, Llangeitho; tra yr oedd Howell Harris yn dàl yn gystal ag yn rymus. Safai John Elias yn bump a deg, ac yr oedd Christmas Evans yn ddwy lath, a phob un o'r ddau yn dywysogion mewn ymddangosiad. Dywedir fod Williams y Wern fel Samuel Davies y cyntaf, yn llai ac eiddilach o gorff na hwynt-hwy, ond yr oeddynt mor olygus eu gwedd a boneddigaidd eu gosgedd, nes tynu sylw ffafriol ar unwaith. Yr oedd Ebenezer Morris, Ebenezer Richard, a Jones Edeyrn yn gewri mewn corffolaeth. Tywysogion o ran eu personau oedd David Rogers a David Williams, Thomas Aubrey a Rowland Hughes, y ddau Rees, a dau fab enwog Tanycastell. Eithriad oedd dynion anffurfiol fel Roberts Clynnog a Morgans y Dyffryn; ond eithriad yn dangos beth all Duw wneyd trwy gyfrwng meddyliau cryfion mewn cyrff gwael.

Ac yr oedd pob un o honynt a wnaeth ei ol ar y wlad yn meddu *galluoedd meddyliol* cymhwys iawn at bregethu. Amrywient yn eu doniau, a rhyngddynt a'u gilydd

cynnrychiolent bob math o ddawn a gweinidogaeth a roddwyd i'r eglwys. Meddent oll ddawn ymadrodd o ran llais, iaith, parabl, a dull, ac yr oedd y cwbl yn berffaith naturiol. Yn y naill neu y llall o honynt, ceid engraifft o ddoniau uwchaf y weinidogaeth. Ni fu dirnadaeth bellach i ystyr yr efengyl, amgyffrediad llawnach o berthynasau dyfnion ac amrywiol ei gwirioneddau, y ddawn i'w trefnu yn rheolaidd ac argyhoeddiadol erioed yn uwch, cydymdeimlad â'u pwysigrwydd a'u gogoniant erioed yn ddyfnach, y ddychymyg areithyddol i'w traethu erioed yn gyfoethogach er dyddiau yr Apostolion nag yn hanes pulpud Cymru, yn oes y tadau. Eto yn nghanol yr holl amrywiaeth uchelryw a hynod hwn, canfyddid delw nodweddiadol a Chymreig arnynt oll. Amcanent oll at braffder yn hytrach nag at fanylwch; rhoddent oll fwy o bwys ar egwyddorion nag ar odidowgrwydd ymadrodd; a mwy o rym a gwres yn niwedd y bregeth nag yn ei dechreu. Meithrinent hefyd y gallu desgrifiadol, ac yr oedd bron bob un o honynt yn chwannog o dynu pictiwr wrth lefaru. Y mae diareb gan yr Arabiaid i'r perwyl mai yr areithiwr goreu yw yr hwn sydd yn troi clustiau y gwrandawyr yn llygaid. Areithwyr felly oedd y tadau Cymreig bron yn gyffredinol.

Nodweddid eu gweinidogaeth bron oll gan donyddiaeth leddf a chaniadol sydd yn arbenig i'r Pulpud Cymreig hyd y dydd heddyw. Sylwa yr enwog Horace Bushnell fod hyn yn elfen bwysig o nerth ac effeithiolwydd yn areithyddiaeth Itali, ac yn ngweinidogaeth Cymru. Dichon fod rhywbeth yn yr iaith sydd yn gyfleus i hyn, ac fod anianawd gerddorol y Cymry fel yr Italiaid yn eu gogwydd iddo; modd bynag, nid anhawdd yw deall pa fodd y mae dull o'r fath mor swynol i genedl fel nyni sydd mor hoff o fiwsig. Hyd y gwyddom, nid oes dim yn Apostolaidd yn y dôn hon; nodwedd Gymreig hollol ydyw.

## II.

YR AFAEL DDOFN A THRWYADL OEDD GAN YR EFENGYL ARNYNT.

Dengys holl dermau y testyn ynghyd ag ysgrythyrau eraill fod hyn yn un o nodweddau amlwg yr Apostolion. Iddynt hwy yr oedd yr efengyl yn sylwedd byw, ac yn llosgi yn eu hesgyrn megys tân. Dyoddefent garchariad a merthyrdod yn hytrach na chuddio eu tystiolaeth. "Canys ni allwn ni na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom," ydoedd iaith eu holl fywyd. Hyn yw meddwl cyntaf yr ymadrodd yn y testyn, "mewn sicrwydd mawr." Wrth sicrwydd mawr y golygir yma hyder mawr, perswadiad meddyliol mawr; neu os mynwch, hyder mawr yn yr efengyl yn cyfodi oddiar argyhoeddiad trwyadl o'i gwirionedd a'i gwerth yn meddyliau yr Apostolion eu hunain. Addefaf nad anmhriodol yw cymhwyso yr ymadrodd at effaith eu hefengyl ar y Thessaloniaid, oblegid yr oedd hyny yn ffaith. Dyma y rheol, o ran hyny, yn hanes pregethu. Os bydd yr efengyl yn sicrwydd mawr i feddwl y pregethwr, y tebygolrwydd yw y cyfodir ei wrandawyr i'r un ansawdd meddwl. Ond gan nad beth yw y priodoldeb o roddi y cymhwysiad hwn i'r ymadrodd, "mewn sicrwydd mawr," ei ystyr gyntaf, meddaf eto, yw dynodi yr afael oedd gan yr efengyl ar feddyliau yr Apostolion eu hunain.

Yr oedd hyn yn nodedig o amlwg yn hen bregethwyr Cymru. Teithient y wlad mewn llafur ac anhunedd, gyda thamaid sych yn eu llogellau; dyoddefent erlid ac anmharch, rai o honynt ddalfa a charchar. Paham? Ar dân yr efengyl oeddynt. Gwysiwyd Wroth o Lanfaches, rywbryd o flaen yr Esgob, dan y cyhuddiad o bregethu tu allan i derfynau ei blwyf ei hun. Wedi holi ychydig arno, a chael nad oedd yr un bai arno oddieithr yr afreolaidd-dra hwn, gofynodd ei arglwyddiaeth iddo, "Paham nad arosech

gartref yn llonydd, fel rhyw glerigwr arall?" Safai Wroth yn ei wyneb am fynydyn yn fud, ond yn dra buan crynai ei wefus, llanwai ei lygad, ac mewn teimlad nas gellir ei desgrifio, efe a atebodd ac a ddywedodd, "Pa fodd y gallaf aros gartref yn llonydd, fy Arglwydd, tra yr wyf yn gweled fy nghydwladwyr yn cyflymu tua dinystr?" I ddyn a deimlai felly, yr oedd yr efengyl yn sicrwydd mawr. Ac y mae yr un peth yn wir am ein tadau yn gyffredin.

Gellir nodi, *yn mlaenaf,* y cyfodai hyn oddiar *brofiad personol* a gawsant o *allu achubol yr efengyl.* Yr oedd eu hargyhoeddiad o bechod yn ddwfn, a'u tröedigaeth at yr Arglwydd yn drwyadl ac yn eglur. Dianghenrhaid yw aros ar hyn. Y mae y ffaith hon yn hanes y tadau Cymreig yn hysbys i bob un o honoch a ŵyr rywbeth am hanes crefydd yn Nghymru, a dengys y ffaith ar unwaith fel y deuai yr efengyl iddynt yn sicrwydd mawr.

Yn ail, nodwn, y parai hyn mai yr *efengyl yn unig a bregethid ganddynt* "Ein hefengyl ni" oedd hi gyda hwy. Gras Duw ar gyfer pechadur andwyol, marwolaeth Crist mewn pryd dros yr annuwiol, gweinidogaeth yr Ysbryd Glân i amgeleddu yr aflan; yr edifeirwch sydd tuag at Duw, a'r ffydd sydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist; y maddeuant rhad trwy ei ras ef a'r geni eilwaith rhag marw ond unwaith. Os pregethid y ddeddf, gwneyd hyny i'w defnyddio fel athraw at Grist; yr efengyl, mewn rhyw agwedd a pherthynas neu gilydd, oedd pwnc mawr cenadwri hen bregethwyr Cymru. Ar ei daith yn casglu at ddyled ei gapel y bu farw yr enwog Christmas Evans. Yr oedd hyny yn 1838, hanner can' mlynedd yn ol; ac yn nhref Abertawe, Deheudir Cymru. "Yr wyf yn eich gadael," meddai. "Llafuriais am dair ar ddeg a deugain o flynyddau, a'm cysur yn awr yw, na lafuriais yn y pulpud erioed, *heb waed yn y cawg.*" Yr oedd hyn yn wir am danynt oll. Yr efengyl yn ei symledd oedd baich eu cenadwri. Bu gwedd athrawiaethol a dadleuol

ar eu gweinidogaeth am gyfodau byrion, fwy nag unwaith; eithr nid yn yr adegau hyny y gwneid mawr waith mewn dychwelyd pechaduriaid a llwyddo achos crefydd. Ychydig a wyddai llawer o honynt am ddim ond yr efengyl. Dyeithr bethau yn Nghymru yr adeg hono oedd athroniaeth feddyliol a gwyddoniaeth naturiol a changhenau eraill o wybodaeth ydynt yn llawforwynion gwerthfawr i'r efengyl yn ein dyddiau ni. "Ein hefengyl ni" oedd unig arwyddair y tadau Cymreig.

Nodwn, yn *drydydd*, fod yr afaël yma oedd gan yr efengyl arnynt yn peri fod eu *hymgysegriad meddyliol i'r gwaith o bregethu yn llwyr ac yn hollol.* Gofynodd gwraig dda i Doctor Parker unwaith, "What is your hobby, Doctor?" "Preaching," atebodd yntau. "O yes," ebai hithau, "but apart from that?" "I have nothing apart from preaching," atebai yntau drachefn. Bendithion fyrdd ar ei ben ac ar ei waith. Dim ar wahan i bregethu. Os cyhoeddir ganddo esboniad ar y Beibl, cyfres o bregethau yw hwnw. Pregethu ydyw ei unig *hobby.* Felly am yr enwog Mr. Spurgeon, mewn modd arbenig. Ac felly hefyd y Tadau Cymreig. Ni roddent le i ddim arall ar eu meddyliau. Am Rowlands, Llangeitho, dywedir mai pregethu oedd ei bob peth. Ar hyn y rhoddai ei holl amser ac y treuliai ei holl athrylith. Dyma oedd ei fwyd a'i ddiod. Treuliai ei amser fel meudwy yn ei efrydfa. Ar y Sabboth bwytai ei ymborth wrtho ei hun, a thra y byddai un John Williams yn cadw dyledswydd yn ei dŷ, ac un W. Williams yn myned trwy wasanaeth yr eglwys i ddechreu yr oedfa, byddai yntau mewn ystafell fechan wrtho ei hunan o'r golwg. Pan ddelai amser y bregeth, deuai allan trwy ddrws bychan tu cefn i'r pulpud, ac wedi uno gyda'r bobl i ganu pennill byr, darllenai ei destyn a thywalltai ei bregeth arnynt fel cawod o dân. Anghenrhaid oedd i rai o'r Tadau Ymneillduol barhau i lafurio ar y maes ac yn eu masnach, tuag at sicrhau bywioliaeth iddynt eu hunain a'u teulu-

oedd; eithr nid ydoedd hyny ond mewn enw yn hanes llawer o honynt. Eu gwragedd diwyd a duwiol fyddai dan y gofal ac yn y drafferth, a hwythau o'r golwg yn gwneyd pregethau neu oddicartref yn eu traddodi. Yr oedd John Elias o Fôn yn enw o gadw *shop* yn Llanfechell, ond yn ei fyfyrgell yn hwyr ac yn foreu y treuliai ac yr ymdreuliai efe. Safai ei briod rhyngddo a phobpeth oedd o duedd i derfysgu ei fyfyrdodau. Suddodd llong unwaith, a chyda hi collwyd gwerth eiddo mawr o nwyddau perthynol iddo ef, ond rhag aflonyddu ar ei feddwl gofalodd ei wraig rhag iddo gael gwybod dim am yr helynt. Am eraill o'r Tadau a ryddhawyd oddiwrth negesau y bywyd hwn gan yr eglwysi, hwy a roddasant eu hunain yn hollol i'r efengyl. Ofnwyf fod rhai o honom ni yn ymdrafferthu gyda llawer o bethau, ac fod ein hamser gwerthfawr yn cael ei dori yn ddarnau. Rhwng ein gofal am drefnyddiaeth eglwysig—materion lleol—symudiadau gwleidiadol—cyfroddi a golygyddu a darllen cyfnodolion y dydd—mân negeseuau ac ymdrechiadau achlysurol, rhoddir treth ar ein hamser ac ymyrir gyda'n meddyliau mewn modd sydd yn llesteiriad difrifol ar ein heffeithiolrwydd gweinidogaethol. Nid felly y Tadau Cymreig na neb o'u plant sydd wedi gadael eu hôl ar hanes crefyddol y wlad.

Dylid nodi, yn y *pedwerydd* lle, fel arddangosiad pellach o'r afael oedd gan yr efengyl arnynt, yr *egwyddor haelfrydig* oedd yn *gymhellydd* iddynt yn holl egnïon eu bywyd. "Megys y gwyddoch chwi pa fath rai a fuom ni yn eich plith *er eich mwyn chwi*," ebai Paul yn rhan ddiweddaf y testyn. Yr ydych yn craffu ar yr ymadrodd olaf "er eich mwyn chwi." Heb geisio eu llesad eu hunain, ond llesad llaweroedd, gwneuthur eu hunain yn bobpeth er mwyn achub rhai, cael eu cymhell gan gariad Crist i farnu y dylent farw er ei fwyn, a byw iddo ac nid iddynt eu hunain, oedd un o nodweddau amlycaf Paul a'r Apostolion. Os gofynir am yr

esboniad sydd yn cyfrif am hyn, ni raid myned o adnod y testyn i ymofyn am dano. Yr efengyl oedd wedi gafael ynddynt hyd ddyfnderoedd eu bodaeth, ac yn cael ei sylweddoli ganddynt mewn sicrwydd mawr. Y mae holl hanes hen bregethwyr Cymru yn dangos nad oedd yn bosibl fod dim a fynai hunanoldeb gyda'u llafur yn yr efengyl. Nid yr anrhydedd oedd yn y gwaith, na'r tâl am dano oedd y cymhellydd; oblegyd dyoddef adfyd a llafur cariad ydoedd eu rhan yn yr oes hono. Peth diweddar mewn cymhariaeth ar du y Cymry ydyw y drychfeddwl o gydnabod y rhai sydd yn llafurio yn eu plith. Bodoli a phrin hyny, heb son dim am fyw wrth yr efengyl, yr oedd mwyafrif gweinidogion sefydlog hanner cyntaf y ganrif hon gyda'r Ymneillduwyr. Ac wrth ddarllen hanes oedfaon grymus Christmas Evans, Williams y Wern, a theithiau meithion a seraphaidd John Elias a Thomas Aubrey (yn nechreu ei fywyd), fel yr oeddynt yn tynu y miloedd i'w gwrando—yn eu hysgwyd fel coedwig â nerth eu hareithyddiaeth, ac yn creu cyfnodau newyddion yn hanes siroedd cyfain, ychydig a ŵyr llawer o honom mor lleied oedd swm y gydnabyddiaeth a dderbynient am eu llafur, ac mor wasgedig eu hamgylchiadau bydol oeddynt hwy a'u teuluoedd ar y pryd. Ac mewn cyfnod boreuach yr oedd pethau yn waeth na hyny. Ceisio cymeryd ymaith ei fywyd oedd yr unig dâl am ei lafur a gynnygiwyd i Howel Harris gan ei wrandäwyr ar ei ymweliad cyntaf â Gogledd Cymru. Ac nid oes ond y dydd a ddengys y caledi a'r erlidiau a ddyoddefodd Hugh Owen, Bron y Clydwr, Walter Caradoc, Stephen Hughes, William Wroth, ac eraill o'r Tadau Ymneillduol, wrth geisio dodi yr efengyl mewn sicrwydd mawr yn nghydwybodau eu cydwladwyr. Rhaid ymofyn am y cymhellydd i'w llafur mewn rhywbeth heblaw hunanoldeb. Onid iaith eu holl hanes ydyw, "er eich mwyn chwi?" Nis gallai y bobl, er dyfned oedd eu hanwybodaeth a'u rhagfarn, wadu hyn. Ammheua rhai o honynt eu pwyll, a

gwawdiant eu penboethni, ond addefant eu difrifwch. Beth bynag oedd yr efengyl a bregethent, gorfodid hwynt i deimlo eu bod hwy eu hunain yn credu ynddi ac yn gaethion iddi. A'r fath elfen ofnadwy bwysig oedd hyn yn eu nerth a'u llwyddiant!

## III.

Yn yr Eneiniad Ysbrydol oedd ar eu Gweinidogaeth.

Darllener rhan gyntaf y testyn unwaith eto "Oblegid ni bu ein hefengyl ni mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân." Os cyfeiriwch i Epistol cyntaf Paul at y Corinthiaid, yr ail bennod a'r bedwaredd adnod, chwi gewch eiriau a roddant eglurhâd ar yr ystyr a olygai Paul wrth y term, nerth, pan gysylltir ef fel hyn â'r Ysbryd Glân. Nid nerth gwyrthiol a feddylir yma, canys nid oes genym hanes yn llyfr yr Actau am wyrthiau yn cael eu cyflawni ar ymweliad Paul â Thessalonica. Dyna yr adnod yn y Corinthiaid, "A'm hymadrodd, a'm pregeth i, ni bu mewn geiriau denu, o ddoethineb dynol, ond yn eglurhâd yr Ysbryd a nerth." Y meddwl yno fel yn y testyn yw y grym a'r dylanwad ysbrydol dan arddeliad yr Ysbryd Glân—oedd yn nodweddu pregethiad yr efengyl o'u genau. Yr oedd yr eneiniad ysbrydol hwn yn nodwedd ddiball yn ngweinidogaeth yr Apostolion, ac heb betruso yr ychwanegaf, yn llafur cyhoeddus hen bregethwyr Cymru. Hyn oedd prif ammod eu llwyddiant. Tybygaf mai dyma ydoedd ystyr ddechreuol yr hwyl Gymreig, ag y traetha awdwyr Seisonig diweddar gymaint o ffolineb wrth son am dani. Ffoldybiai rhai o honynt mai yn yr iaith Gymraeg y llechai cuddiad cryfder pulpud Cymru. Gwneir llawer gormod hefyd gan yr un dosbarth o angerddolrwydd a thynerwch ffrwydrol yr ardymher Geltaidd yn y llefarwyr a'u gwrandäwyr. Pobl anhawdd i'w cyffroi yw y Cymry ar y cyfan.

ond pan gyffroir hwynt, wel mae'n bryd edrych allan. Yr oedd y genedl yn cysgu mewn anystyriaeth a chaledrwydd pan ymddangosodd y Tadau ar y wylfa. Dull arafaidd a digyffro hyd fwy na hanner y bregeth oedd gan y gwŷr da o gyfarch eu gwrandäwyr. Yn chwanegol at y pethau a nodais o'r blaen, elfen benaf eu grym a'u llwyddiant oedd yr hyn a ddesgrifiwyd mewn geiriau heb fod yn fanwl, yn *eneiniad Ysbrydol.*

Dan y penawd cyffredinol hwn, nodaf, yn *mlaenaf, eu bod yn Fiblwyr mawr.* Dichon fod prinder llyfrau eraill yn cydweithio â'u tueddfryd bersonol i wneyd y Bibl eu prif lyfr, ïe, rai o honynt, eu hunig lyfr. Trysorent ef yn eu cof, ymdreiddient i'w ystyr, ac ymdrwythent yn ei ysbryd. Yr oedd y Testament Newydd a llawer o'r Hen, wedi ei argraffu gan Dafydd Cadwaladr ar ei gôf. Cludai John Elias ei Fibl gydag ef at ei bryd bwyd fel plentyn yn cario tegan, dysgai yr ieithoedd gwreiddiol er mwyn dyfod gymaint a hyny yn nês at feddwl Duw ynddo, ac yr oedd ef a llawer o'i gydoeswyr ar fin addoli y llyfr. Y mae byw ar Air Duw yn cynnyrchu yn gystal ag yn dynodi ysbrydolrwydd meddwl,—meddwl parod i dderbyn eneiniad yr Ysbryd Glân.

Nodwn, yn *ail*, eu bod yn *ddynion ysbrydol iawn eu meddyliau.* Yr oedd duwioldeb wrth gefn pob dawn a gwybodaeth a feddent. Ymgodent yn uchel mewn ysbrydolrwydd meddwl, ac am y mwyafrif o honynt gellid dyweyd eu bod yn rhodio gyda Duw. Rhwyment eu hunain megys â diofryd i wasanaethu Duw, ac adnewyddent eu cyfammod drachefn a thrachefn. Difyr yw darllen hanes Christmas Evans yn gwneyd hyn, a phob tro y gwnai, cyfnod o lewyrch a llwyddiant newydd yn dilyn. Yn ystod ei weinidogaeth yn Lleyn, pan yn ddyn ieuanc newydd ei ordeinio, cawn ei hanes yn cychwyn ar ei geffyl am daith bregethwrol. Ar ol cychwyn aeth ei galon yn drom ac yn llwfr gan ofn. Tarddai ei helbul oddiar yr ammheuaeth a deimlai ynghylch ei alwad i bregethu.

Wedi cyrhaedd i le anial rhwng Aberglaslyn a Maentwrog, disgynodd oddiar ei geffyl, rhwymodd yr anifail wrth y gwrych, ac aeth i'r cae i ymdrechu gyda Duw. Daliodd ati nes teimlo ei fod yn ddyn newydd. Setlwyd pwnc ei alwad dros byth. Yn mhen ysbaid ar ol hyn, yn fuan ar ol ei ymsefydliad cyntaf yn Môn, mawr flinid ei feddwl gan gyfeiliornad mewn barn. Ar ei daith yn Sir Feirionydd, wrth ddringo Cader Idris, ymneillduodd am dair awr mewn ymdrech arall gyda Duw, a daliodd ati nes torodd y wawr. Gwnaeth gyfammod difrifol gyda Duw, a daeth llwyddiant mawr ar ei weinidogaeth ar ei daith, ac yn Môn ar ol ei ddychweliad adref. Cododd nifer eglwysi y Bedyddwyr yn y Sir o ddeg i un ar hugain, a chwanegwyd chwe' chant o eneidiau at rif yr aelodau. Ar ei symudiad i Caerphili yn Neheudir Cymru, cawn ei hanes y drydedd waith yn treulio oriau mewn gweddi ar fynyddoedd Caerphili, ac yn adnewyddu ei gyfammod gyda Duw. Gwrandawyd ei weddi, ac anrhydeddwyd ei ymgysegriad, chwanegwyd saith ugain at ei eglwys mewn dwy flynedd, a chododd ei weinidogaeth i bwynt uwch mewn nerth ysbrydol nag y bu erioed cyn hyny. Hawdd fyddai nodi engreifftiau cyffelyb yn hanes llawer eraill o'r Tadau. Yr oeddynt oll yn nodedig mewn duwioldeb ac ysbrydolrwydd meddwl.

At y ddau, rhaid chwanegu, yn y *lle olaf*, eu bod yn *weddïwyr mawr.* Byddai ysbryd gweddi yn disgyn ar Christmas Evans, meddai efe, fel cawodydd o wlaw. Yr oedd gweithiwr yn adgyweirio tô tŷ John Elias. Wrth ddringo yr ysgol gwelai drwy ffenestr ei efrydfa y dyn mawr ar ei liniau. Yn mhen yr awr disgynai y dyn i lawr, ac er ei syndod gwelai ef fyth yn yr un agwedd. Ofnodd ei fod wedi ei barlysu neu wedi marw, a brysiodd at y forwyn i gyfleu yr hysbysrwydd. Ateb hono ydoedd mai gweddïo yr ydoedd yn ol ei arfer. Byddai y gader, o flaen yr hon yr hon yr ymgrymai, yn fynych yn wlyb gan ei ddagrau. Rywbryd yr oedd ef a'i wraig yn y *gig*

ar eu ffordd i Sasiwn Bangor. Pan ddaeth i olwg y ddinas, rhoddodd yr awenau i'r wraig, penliniodd ar waelod y cerbyd, wylai, a griddfanai, a gweddïai, fel un ar ddarfod am dano. Pan oedd Rowland Hughes yn ddyn ieuanc yn Sir Fôn, arferai aros yn achlysurol mewn tŷ yn Menai Bridge. Cyn myned i'r oedfa ymneillduodd i ystafell; wrth ei weled yn hir, danfonwyd y forwyn i alw arno. Yn lle curo wrth y drws, edrychodd yr eneth drwy dwll y clo, a gwelai ef ar ei liniau wrth y gader. Yn y man daeth allan o hono ei hun, a phan aeth rhyw un i'r ystafell, canfyddodd fod y gader a'r llawr yn wlyb gan ei ddagrau. Bob dau fis arferai Rowlands, Llangeitho, fyned i bregethu i Gwaenifor. Cyfodai fore Sul am bedwar o'r gloch, brecwestai yn ddioed, ac yna ymneillduai i'r coed i fyfyrio a gweddïo, ac nis gwelid ef hyd amser yr oedfa. Cyn cychwyn i'w daith, byddai Robert Roberts, Clynog, yn ymgreinio yn y llofft wair am oriau mewn llefain cryf a dagrau, ac yna pan agorai ei enau yn gyhoeddus nid oedd dim a safai o'i flaen. Hawdd fyddai llïosogi engreifftiau, ond rhaid ymatal.

Yn byw fel yr oeddynt yn Ngair Duw, ac yn rhodio gydag ef mewn bywyd duwiolfrydig a gweddi, pa ryfedd fod eneiniad ysbrydol yn gorphwys ar eu gweinidogaeth gyhoeddus?

Gyda'r cymhwysderau naturiol a feddent—yr afael ddofn oedd gan yr efengyl ar eu hysbrydoedd, ynghyd a'r eneiniad ysbrydol oedd ar ei gweinidogaeth, aethant allan trwy Gymru fel fflamau tân; chwalwyd ffair gyflogi Rhuddlan gan un oedfa; dilewyd chwareuon llygredig Lleyn âg un arall; rhoddwyd i lawr wylmabsantau; difrifolwyd yr ieuainc a dychrynwyd yr hen; deffrowyd crefyddwyr cysglyd, achubwyd miloedd o annuwiolion, a gweddnewidiwyd yr holl wlad.

Dynion o'r nodwedd yma a wnaeth Gymru yr hyn ydoedd pan alwyd rhai o honom ni i dderbyn banerau yr efengyl o'u llaw; ac i'r graddau y byddwn debyg iddynt

mewn ysbryd ac ymroddiad, y bydd ein hymdrechion yn gyffelyb rymus ac yn gyffelyb lwyddiannus. O frodyr, gweddïwch drosom. Beth am danoch sydd yn gwrando? Gwrandawodd rhai o honoch y tadau, ond yn ofer; ac yr ydych yn swn gweinidogaeth eu plant yn addfedu i ddinystr tragywyddol. Beth fydd eich cyfrifoldeb ar derfyn y cwbl? Sefwch ar eich ffyrdd yn awr. Os bu farw yr hen bregethwyr, mae y Ceidwad a bregethwyd ganddynt yn aros gyda ni o hyd. Cyn cwympo dros yr ymyl i dragywyddoldeb, codwch waedd am ei gymhorth, a ffowch i'w freichiau. Amen.

---

Beth ydwyf? Gobaith hudol—a ddywed
Mai o Dduw wyf hanol;
Er o'r ddaear, daearol,
Eto i'r nef yn troi yn ol.

Nodwedd anianol nwydau—a welir
Fel olion hen glwyfau
Ar fy enaid, 'r wyf inau
O hyd yn methu marwhau.

Dduw anwyl, o'th ddaioni—dyro ras
Dyro rym im' godi,
Drwy ganol pob drygioni,
Eto, y Tad, atat Ti.

LLEW LLWYFO.

## CHARLES HADDON SPURGEON.

### II.—PA FATH UN YDYW.

DYN lled fyr, llydan a chydnerth o gorffolaeth ydyw, mewn diwyg drwsiadus ond anghlerigol; gwddf cryf ac ymddangosiadol fyr; pen crwn lled fawr; talcen llawn heb fod yn uchel; wyneb mawr yn dynodi grymusder a thynerwch mewn cyfuniad uchel a chyfartal; llygaid tirion heb ddim neillduol arall mewn maintioli na mynegiant; safn gron, fechan, findew, a'r wefus uwchaf yn cael ei dal allan ychydig gan res o ddannedd gwynion, lled fawrion ac amlwg; bochgernau bongryf yn golofnau cedyrn i gynnal yr ymenydd llydan-labedog sydd y tu ol iddynt, ac i weithio yr ên hyawdl a chymharol fechan ag y maent at ei gwasanaeth. Try ei wallt gwineuddu yn ol oddiar ei dalcen, a gedy ei holl farf, sydd yn prysur fritho yn awr, heb ei heillio. Chwery bywiogrwydd neillduol yn ei wyneb, a rhed tònau pob math o deimladau drosto fel cysgod y ffurfafen dros wyneb llyn gloew ar ddiwrnod gwyntog. Un fynyd eistedda pryder a thristwch eithafol ar ei ael, a'r fynyd nesaf ymlyfnha gwead ei dalcen a mynegiant ei wefusau i wneyd lle i'r wên fwyaf siriol a thirion a addurnodd wyneb dyn erioed ddadguddio ei hun. Ychydig flynyddau yn ol yr oedd golwg ieuengaidd iawn arno. Daw cryn lawer o olion ei ddyoddefiadau corfforol i'r golwg yn awr; curia ei gnawd llyfndew, a throir y wyneb bochlawn, crwn a llawen, yn hir, rhychiog a phruddglwyfus.

Beth am deithi ei feddwl? Efe yn ddiau yw y pregethwr mwyaf poblogaidd ar y ddaear heddyw. Ac yn ei lwyddiant fel pregethwr y llecha cuddiad ei gryfder gyda phob rhan arall o waith yr Arglwydd sydd ganddo mewn llaw. Pa gyfrif sydd am ei boblogrwydd? Nid yw o un dyben ceisio gwadu y ffaith na diystyru ei harwyddocâd. Nid newyddian ar y maes ydyw Spurgeon. Y mae yn Llundain er ys pedair blynedd ar ddeg ar hugain, daeth i'r amlwg gyda'i fod yno, ac y mae wedi cadw ar y blaen mewn poblogrwydd hyd heddyw. Nid fflachiad am dro fel ymddangosiad seren gynffon ydyw peth fel hyn. Rhaid fod sail lydan gadarn fel y graig i'w lwyddiant. Nid nawddogaeth cyfeillion na hynodion personol; nid yr athrawiaeth a gyhoedda neu ddysgeidiaeth anghyffredin sydd yn tynu sylw ato ac yn cyfrif am ei boblogrwydd. Ni

raid iddo ddiolch i neb dyn am ei safle, mae yn hollol rydd oddiwrth bob math o chwithigrwydd personol; ceidw at wirioneddau plaen ac elfenol yr efengyl yn ei weinidogaeth, ac nid oes dim neillduol yn ei bregethau o ran pwnc na chynllun sydd ynddo ei hunan yn deffroi chwilfrydedd. Ar fwy nag un cyfrif, cyffredinedd ydyw ei brif nodwedd fel meddyliwr. Nid yw yn ddwfn nac yn uchel, yn llydan nac yn braffus yn ei feddylddrychau, ac nid oes dysgleirni anghyffredin yn y ddiwyg sydd am danynt. Ac eto, darllenir ei bregethau gan fwy o bobl na'r un dyn byw. Rhaid fod rhywbeth ynddynt, a hwnw yn rhywbeth anghyffredin hefyd. Nis gellir ymgydnabyddu â'i ysgrifeniadau heb weled ar unwaith fod ei feddwl yn *ffrwythlawn* iawn. Nid yw ei ffynnon byth yn sychu! Edrycher drwy ei ddwyfil pregethau argraffedig, ei esboniad ar y Salmau, ei ddarlithiau i'w efrydwyr, ei erthyglau aneirif yn y *Sword and Trowel.* Y fath amrywiaeth diderfyn a geir o fewn cylch mor gyfyng, ac o natur mor gyffredin, ac eto oll yn werthfawr a darllenadwy. Nid oes diwedd ar ei adnoddau. Cydnabyddir fod ei iaith yn bur a chref, a'i arddull yn eglur, bachog a destlus. Ni cheir ganddo un amser frawddeg heb ei gorphen neu yn annealladwy; na gair o'i le, na gair llanw neu air gwan. Dealla lwybr ei feddwl ei hun o bell, a dyry bob troediad arno yn gywir ac yn heini. Nid oes arwyddion aflerwch na llacrwydd ar ddim a wnêl. "Method is moving to a point," ebai rhywun. Llywodraethir ei holl feddyliau a'i eiriau ef gan gynllun felly. Y mae myn'd ynddo ar bapyr yn gystal ag yn yr areithfa; a hwnw yn fyn'd at ryw bwynt terfynol, hollol ymarferol. Bywiogir ei natur a'i arddull gan ystorfa ddihysbydd o ffraethineb a digrifwch. Y mae y gallu dynwaredol yn gryf ynddo. Gwyr pa fodd i bersonoli cymeriadau cystal â Shakespeare. Adnebydd y natur ddynol yn gyngreddfol bron, a gall ddyfalu agos i anffaeledigrwydd beth fydd meddyliau a geiriau dynion o wahanol gymeriadau o dan wahanol amgylchiadau. Rhed y nodwedd hon fel gwythïen drwy ei holl ysgrifeniadau. Dyry y ffordd iddi weithiau ddyfod i amlygrwydd, megys yn *John Ploughman's Talk.* Y mae ei feddwl hefyd o nodwedd hollol ymarferol. Ceir yn y ddau weddnod olaf a nodwyd gyfrif am ei allu nodedig i drin pobl,—i'w hadnabod a'u defnyddio. Dywedir am dano ei fod yn gyfundrefnwr da, ond mwy priodol fyddai dyweyd ei fod yn fedrus nodedig i dynu eraill allan mewn cynllunio a gweithio iddo a throsto; mewn gair arall, ei fod yn arweinydd da.

Medda briodoleddau moesol sydd yn ychwanegu yn ddirfawr at ei allu fel dyn cyhoeddus. Cafodd ddynoliaeth ardderchog; mae yn ddidwyll ac agored, yn wrol ac yn garedig, yn ddiymhongar ac

yn anrhydeddus—yn foneddwr, ïe, yn ddyn drwyddo. Coledda argyhoeddiadau croewon a chryfion iawn, ac nid oes ball ar ei ddawn a'i wroldeb i sefyll drostynt. Llenwir ei natur â brwdfrydedd sydd yn llosgi yn ei esgyrn megys tân, ac yn gwasgar ysbrydiaeth fel gwreichion at eraill o'i gwmpas. Mae ei holl natur yn gyforiog o angerddolrwydd, a hwnw dan arweiniad synwyr cyffredin cryf, ac o dan lywodraeth hunan-feddiant perffaith. Yn goron ar y cwbl, y mae yn ddyn Duw yn ystyr uwchaf y gair; cafodd ddychweliad trwyadl yn moreu ei oes; rhodiodd yn nghymdeithas ei Waredwr byth ar ol hyny; mae yn fawr mewn gweddi, ac yn gwbl anhunangar a duwiolfrydig yn ei holl amcanion.

Pan gofir y pethau hyn oll, ac ychwanegir atynt ei ddull naturiol, dynol o ymadroddi, y gloch aur o lais mawr mewn cwmpas a nerth a phereidd-dra sydd ganddo, a cheir rhyw syniad pa fath un yw prif bregethwr y byd, sef C. H. Spurgeon.

J. E.

DIWEDD.




P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.